# LLENYDDIAETH Y CYMRY.

---

## LLAWLYFR I EFRYDWYR.

---

**Cyf. I.**

HYD YMDRECH Y TUDURIAID.

---

GAN

THOMAS GWYNN JONES,

*Coleg Prifysgol Cymru, Aberystwyth.*

---

DINBYCH: GEE A'I FAB, CYF.

1915.

# RHAGYMADRODD.

CYHOEDDWYD yr ysgrifau hyn o fis i fis yn *Y Faner* y llynedd. Amcanwyd ynddynt roddi golwg gryno ar gynnwys llenyddiaeth Gymraeg y cyfnod dan sylw, ac awgrymu i'r darllenydd pa fodd i astudio 'r pwnc yn fanylach nag y gellid gwneuthur hynny mewn cyn lleied o le â hyn. Er mwyn darllenwyr heb lawer o gyfleusterau, ceisiwyd egluro dyfyniadau trwy ddodi geiriau cyffredin mewn bachau ar ôl y geiriau mwyaf anghynefin. Lle teimlid nad oedd hynny yn ddigon, ychwanegir yn awr nodiadau ar y diwedd. Hyderir y bydd cymaint âg y sydd yma, drwy 'r naill ddull â'r llall, yn weddol ddealladwy i bob darllenydd.

T. GWYNN JONES.

ABERYSTWYTH,
*Dydd Mawrth Ynyd, 1915.*

# Llenyddiaeth y Cymry.

## I.—Y CYNFEIRDD.

Pan ddown gyntaf, rywbryd rhwng 597 a 613 o Oed Crist, ar draws hanes credadwy am y bobl a'u galwodd eu hunain yn Gymry, cawn mai ymladd yr oeddynt. Ymladd am eu hoedl y buont o hynny hyd heddyw, ond nid â'r un arfau o hyd. Yr oedd Cymru'n fwy yr adeg honno nag ydyw heddyw. Yn 597, torrwyd rhyngddi â Chernyw; yn 613, gwahanwyd rhyngddi âg Ystrad Clwyd. Ond ar ei mwyaf, nid oedd Cymru'n fawr, na'i phobl yn lluosog iawn, ac y mae'n rhyfedd fod gwlad mor fechan wedi cadw ei hiaith briod a'i llenyddiaeth gysefin o gwbl, ag ystyried y nerthoedd a fu yn ei herbyn. Pe na bae ond hynny i'w ddywedyd am dani, byddai Llenyddiaeth y Cymry yn ddigon dyddorol i'w hastudio. Pobl gymysg, yn ddiau, oedd y Cymry. Gwyr o'r un fro, nid o'r un waed, oedd ystyr yr enw a gymerasant. Ond yr oedd eu hiaith a'u budd yn eu huno. Gan y sonnir yng nghorff yr ysgrifau hyn am lenyddiaeth ieithoedd sy'n perthyn i'r Gymraeg, buddiol fyddai deall ar y cychwyn beth a ddywed ieithyddion am eu perthynas â'i gilydd. Ryw fil o flynyddoedd cyn Crist, ceir dechreuad hanes ieithoedd neilltuol yn y darn daear sy rhwng Hindwstan yn y dwyrain a glannau'r Atlantig yn y gorllewin, rhwng Scandinafia yn y gogledd a'r Mor Canoldir yn y de. Am fod cynifer peth yn gyffredin i'r ieithoedd hyn, gwelwyd, trwy ieitheg gymharol, eu bod yn tarddu o un fam iaith, a leferid gynt. Indo-Ewropäeg y geilw ieithyddion honno. Tyfodd yn ei thro yn lliaws o dafod-ieithoedd. Tebygai y rhai Eidalaidd a Cheltaidd i'w gilydd. O'r twr Eidalaidd, Lladin oedd y bennaf a'r bwysicaf. O'r rhai Celtaidd, gwyddis am dair tafodiaith; sef, (1) hen iaith Gâl, nad oes ond enwau priod ac ambell argraff ar gerryg i'w cael o honi bellach; (2) yr Wyddeleg, sydd eto'n fyw yn Iwerddon, Scotland ac Ynys Fanaw; (3) y Frythoneg, hen iaith Ynys Brydain, a droes, hithau, yn dair adiaith, (a) y Gymraeg, (b) y Gernyweg, a fu farw yn y ddeunawfed ganrif; (c) y Llydaweg, sydd eto'n fyw. [Introduction a l'étude comparative des Langues Indo-Européennes. A. Meillet. Paris 1912].

Dengys y gosodiadau hyn y cyfoeth dirfawr o draddodiad y gallai fod gwraidd llenyddiaeth Geltaidd yn cyrraedd iddo, ac nid oes amheuaeth na cheir yn yr Wyddeleg, y Gymraeg a'r Llydaweg adlais hen goelion oedd gyffredin i'r Gwyddyl a'r Brythoniaid ymhell cyn eu gwahanu a dieithro eu lleferydd. Ond mewn ystraeon nad ysgrifennwyd hyd yn ddiweddar y ceir pethau felly. Trwy ddyfod y Rhufeiniaid i Brydain, gwthiwyd Lladin ar y Brythoniaid, ac yn Lladin y mae'r argraffau cynharaf ar feini a gaed yn y wlad hon. Yna daeth Lladin yn iaith crefydd a dysg, a thrwy hynny daeth dylanwad llenyddiaeth y Rhufeiniaid i mewn. Felly, ar ddechreu llenyddiaeth y Cymry, yr ydym wyneb yn wyneb a dau ddylanwad—dylanwad traddodiad Celtaidd, ac effaith diwylliant Lladinaidd; ac y mae llawer o bethau cynharaf eu llenyddiaeth yn Lladin. Yn Lladin yr ysgrifennodd Gildas a Nennius; yn yr iaith honno y mae'r copi cynharaf sy'n hysbys o gyfreithiau Hywel Dda; yn Lladin yr ysgrifennodd Sieffre o Fynwy ei Frut, yn 1145, ac yn yr un iaith yr ysgrifennodd Gerallt Gymro a Walter Map tua'r un oes.

Fel hanes y gosododd Sieffre ei waith allan, gan ddywedyd mai cyfieithad o'r

Gymraeg ydoedd, eithr yr ydys bellach yn aml yn tadogi'r dychmygion ar Sieffre ei hun. Ond gwrthun ddigon yw hynny, hyd yn oed ar dybiaeth noeth, canys tyfu y mae pob rhamant. Heb ddywedyd na ddychmygodd Sieffre lawer o bethau, y mae'n sicr fod ganddo garnedd o draddodiadau gwlad i'w chwalu. Profir hynny gan ddywediad William of Malmesbury fod y Brythoniaid yn ei ddydd ef yn "bostio yn eu hofer chwedlau am Arthur" [Gesta Regum Anglorum, 1, 8]; a chan hanes a rydd myneich Laon am gynnwrf a gododd Brythoniaid Cernyw yn 1113 am na chredent fod Arthur wedi marw. [Migne, Patrologia]. Y casgliad mwyaf pwyllus yw fod Sieffre wedi ysgrifennu hen draddodiadau Cymreig a Brythonig oedd ar lafar gwlad, ac efallai mewn ysgrifen, a'u helaethu o'i ddychymig ei hun. Felly, rhoddodd gychwyn i ledaeniad chwedlau Arthur drwy lenyddiaeth Ewrob i gyd. Cadarnheir y farn hon gan y profion mai nid ef yn unig a fu wrthi. Daeth y Normaniaid yn gynnar i rym ym Morgannwg, tra'r oedd Gwynedd yn ymladd am ei hanibyniaeth. Priodent ferched y Cymry, a dysgent Gymraeg. "Gerallt Gymro" y galwai Gerald de Barri ei hun. Ceir traddodiad am Robert, Duc Normandi, yn cyfarfod beirdd Cymreig pan oedd yn garcharor yng Nghaerdydd, yn eu hoffi ac yn dysgu Cymraeg a chanu cerdd ynddi i'r dderwen a welai drwy ffenestr ei gell. Felly daeth y "trouvère" Normanaidd a'r "cyfarwydd" Cymreig i gyfathrachu—y mae'n lled amlwg mai ystyr debyg oedd i'r ddau air—ac aeth ystraeon ereill, nad oeddynt yng ngwaith Sieffre, ar led. Sonia Gerallt am Bledhericus, un o'r chwedleuwyr Cymreig a wyddai'r hen draddodiadau; ac i hwnnw, dan yr enw Breri neu Bleri —y ffurf a gymerasai'r enw yn Ffrangeg —y mae awdur chwedl Tristan ac Esyllt yn Ffrangeg yn cydnabod ei ddyled [Romania VIII., 425—428].

Felly gwelwn mai drwy'r Lladin a'r Ffrangeg yr aeth hen chwedlau'r Celtiaid ar led yn Ewrob. A oedd, ynteu, lenyddiaeth Gymraeg gynharach na chynnwys ein llyfr Cymraeg hynaf—Llyfr Du Caerfyrddin? Credid gynt—yn wir, cred rhai eto—fod y Cynfeirdd —Aneirin, Llywarch Hen, Taliesin, ac ereill—yn canu ganrifoedd cyn oes Sieffre. Fe allai eu bod. Nid yw'r ddadl wedi ei thorri eto, er cymaint o bobl bendant a fu'n rhoi barn arni. Y mae o leiaf yn sicr mai tuag oes Sieffre ac ar oll hynny y copïwyd y cerddi a briodolir i'r Cynfeirdd, fel y maent hysbys i ni. Eto, nid oes neb cymwys i farnu yn ameu nad yw'r rhan fwyaf o gynnwys y llyfrau a alwodd Skene yn "Bedwar Hen Lyfr Cymru" yn llawer cynharach na'r amser yr ysgrifennwyd y llyfrau.

Yn yr hen amser, ar groen dafad neu lo yr ysgrifennid, ac yn y wlad hon, yn y Mynachlogydd y ceid rhai yn medru ysgrifennu. Felly, i'r hen fyneich yr ydym i ddiolch am hynny sydd gennym o'n llenyddiaeth gynnar. Yr hynaf o'r Pedwar Llyfr, fel y dywedwyd, yw "Llyfr Du Caerfyrddin," a gopïwyd ym Mhriordy Sant Ioan, Caerfyrddin. Seiliwyd y ty hwnnw yn 1148; felly, copïwyd y llyfr, y mae'n debyg, rhwng hynny a blynyddoedd cyntaf y drydedd ganrif ar ddeg. Cymysg yw ei gynnwys o chwedloniaeth, diwinyddiaeth, hanes a barddoniaeth, y cwbl ar fesur cerdd. Ar waelod un o ddalennau'r llyfr, ysgrifennodd un o'i berchenogion gynt englyn yn gorffen â'r geiriau isod (a'u dodi yn orgraff heddyw):—

"Er cymen a ddarllenwyf,
Dyallu'r Llyfr Du nid wyf."

Nid oes neb di-rodres heddyw na ddywedai'r un peth am lawer iawn, beth bynnag, o'r llyfr. Nid iaith gyffredin y ddeuddegfed ganrif yw ei iaith, fel y gwelir ond ei chymharu âg iaith y Mabinogion a rhamantau ereill nad ynt lawer iau. Ceir ynddo bethau ar ffurf ymddiddanion rhwng Myrddin a Thaliesin, Gwyddneu Garanhir a Gwyn ap Nudd, Taliesin ac Ysgolan, Arthur a Glewlwyd Gafaelfawr, ac ereill. Y mae'r cerddi hyn yn llawn cyfeiriadau at hen chwedlau a rhywbeth rhwng chwedl a hanes. Cwta ac anodd ei deall yw'r iaith; cawn gyfeiriadau at frwydr Arderydd, a ymladdwyd, meddir, yn 573; at Goed Celyddon, at Gaer Fantwy, ac at liaws o fannau a phersonau na wyddis hyd sicrwydd pa le yr oeddynt na phwy oeddynt. Tebyg iawn yw'r penillion hyn i'r englynion a geir, er engrhaifft, ym Mabinogi Math fab Mathonwy, ac fel a geir yn rhai o'r

chwedlau Gwyddelig. Yn y chwedlau, y maent fel gweddillion rhyw ystraeon hŷn, wedi aros yn y testun fel yr oeddynt, am nad oedd y "cyfarwydd" ei hun yn eu deall. Yn y Llyfr Du, cawn hwynt heb yr ystori; a'r tebyg yw fod y cyfarwydd gynt yn adrodd yr ystori oedd yn egluro'r penillion, os nad y penillion, yn wir, oedd y deunydd y nyddai'r ystori allan o hono, yn debyg i'r fel y bydd yr hynafiaethwyr lleol hyd heddyw yn dyfeisio ystraeon cyfain i egluro enwau lleoedd. O'r natur hon, er engrhaifft, y mae "Englynion y Beddau," rhai o'r pethau goreu yn y Llyfr Du—rhyw dair llinell yn adrodd ymha le y cwympodd ac y claddwyd hwn a hwn, a pha fath un oedd, cofiant byr, hyawdl. Wele engrhaifft neu ddwy:—

"Pieu y bedd hwn? Bedd Brwyno Hir,
Hydr ei wir yn ei fro;
Parth yd fâi, ni byddai ffo!"

"Pieu y bedd hwn nid [? yn ryd] Aral?
Gwythwch wrth [? wrdd] erfyd;
Tra'th laddai, chwarddai wrthyd!"

Testun drwg sydd i'r ddwy linell gyntaf o'r ail englyn. Awgrymir darlleniadau ereill o'r geiriau sydd ansicr, rhwng crymfachau. Felly yr adroddir camp pob un—Dywel mab Erbin, nad ofnai ryfel; Lluch Llaweghin, na byddai dri mis heb frwydr; Llew Llawgyffes, gwr na roddes wir i neb; Gwrtheyrn Gwrthenau, yr oedd pawb yn ei ameu; Cynddilig mab Corcnud, yr alltud, a'r bleiddiau yn udo uwch ei fedd; Rhufawn, a fu farw yn ieuanc; Tawlogeu mab Lludd, a'i claddai, caffai fudd; Rhi, a laddwyd gan Riogan. Ac ynghanol y rhes, cawn englyn neu ddau yn awgrymu bod gwybod lle'r oedd y beddau yn rhan o ddyled y bardd—

"Neum dug i Elffin i brofi fy marddrin
Gysefin uch cynran."

Yn y cerddi crefyddol ceir llawer pennill da a dealladwy, ac y maent yn llawn dihewyd syml, a mawl i Dduw, i Grist, a Mair. Danghosant lwyred a symled oedd cred yr hen fyneich a'u canodd, a daw weithiau bethau di-ddisgwyl i mewn i blith y gweithredoedd y canmolant Dduw am eu gwneuthur, megis yr ansawdd "hygar hwyr" ar ferch, a "llosgi'r pum caer" yn y dyfyniad hwn:—

"Ar ddwyreaf fi un y sy ddau ac un,
Y sy dri ac un, y sy Dduw ei hun;
A wnaeth Mawrth a Llun, a mascul a bun [gwryw a benyw],
Ac nad cyforun [nad cyd-wastad], bas ac anoddun [dwfn];
A wnaeth dwym ac oer, a haul a lloer;
A llythyr yng nghwyr, a fflam ym mhabwyr;
A serch yn synnwyr, a bun hygar hwyr,
A llosgi pum caer o Ddyfed i Wyr."

Ar y cyfan, ceidw'r cerddi crefydd at foli Duw a daioni, heb gynnyg athrawiaethu. Duw, medd un emyn, "a beris leufer llewenydd;" nid "er gwneuthur amhwyll na thwyll na thrais" y creodd Duw ddyn; a dyled popeth oedd bendigo enw Duw:—

"Gogoneddawc Arglwydd, hanbych gwell,
A'th fendico di eglwys a changell,
A changell ac eglwys,
A gwastad a diffwys."

Nid oes dristwch yn eu mawl, ond y maent yn wahanol pan gofiont am arferion dynion a'u diwedd. Cyhoeddant wae ar y sawl a esgeulusai ganu ei baderau, parchu'r creiriau, a rhoi elusen; a rhont y pechadur ar ei ochel na ddihangai, canys—

"Ym mryn, yn nhyno, yn ynysedd môr,
Ymhob ffordd ydd eler,
Rhag Crist wyn nid oes anialedd."

Cynnwys y darnau hanesyddol sydd yn y llyfr y cerddi a elwir "Afallennau" a "Hoianau" Myrddin, a phenillion yn dechreu â'r geiriau "Gwyn ei byd y fedwen." Perthyn y rhai hyn i'r cerddi brud, sy'n rhan mor hynod a dyrys o lenyddiaeth Gymraeg. Dichon fod gwreiddyn y math hwn ar ganu yn ymgladdu yn newindabaeth yr hen Geltiaid, ac mai dyna'r rheswm bod y penillion hyn a'u tebyg yn dechreu âg enwau coed—"Gwyn ei byd y fedwen," "Afallen beren," "Marchwiail bedw briglas," &c. Collodd y geiriau eu hystyr, ond parhawyd i'w harfer ar ddechreu pethau ar ddelw proffwydoliaeth. Drwy waith Sieffre, aeth enw Myrddin ar led Ewrob fel dewin, a thadogwyd llawer o "broffwydoliaethau" arno, yng Nghymru a Lloegr, mor ddiweddar hyd

yn oed âg adeg y Rhyfel Mawr. Pa fodd bynnag y tarddodd traddodiad Myrddin, defnyddiwyd ei enw yng Nghymru at amcanion gwleidyddol, fel y cawn sôn eto, a pheth fell., yn ddiau, sydd i'w gael yn y cerddi hyn o'r Llyfr Du. At ba ddigwyddiadau bynnag y cyfeiriant, cynhwysant nid ychydig o linellau prydferth ynddynt eu hunain:—

"Gwyn ei byd y fedwen yn Nyffryn
Gwy,
Y syrth ei changau bob un, bob dwy."

"Afallen beren blodeu esblydd
A dyf yn argel yn Argoedydd."

"Afallen beren a phren ffion
A dyf o dan gel yng nghoed Celyddon."

"Oian aparchellan, neud blodau drain
Gorlas, cain mynydd, elfydd neud cain."

Y mae'r iaith yn lled ddealladwy, a'r fydryddiaeth yn llawer llyfnach nag yn y mesurau byrion. Ni cheir cynghanedd yn y llinellau ond o ddamwain, ond y mae'r odl fewnol yn lled gyson drwyddynt. Gwladgar iawn yw'r cerddi, a down ar draws llawer o'r arwyddion a nodir ynddynt yng nghywyddau brud oesau diweddarach.

Ond y farddoniaeth oreu yn y Llyfr Du yw'r cyfeiriadau at Natur sydd ynddo. Ceir hwy yma ac acw, ynghanol dychmygion yr Ysgolheigion am dwf yr enaid, yn ystyriaethau'r bardd ar oes dyn, mewn cerdd i Fechydd fab Llywarch, sy'n cynnwys disgrifiad effeithiol o'r gaeaf. Byrion yw'r cyfeiriadau hyn yn gyffredin—digon i ddangos pa beth y gallasai'r hen brydyddion ei wneud. Wrth ganu am yr Atgyfodiad, sonia un o honynt am y

"Man y mae meillion a gwlith ar dirion,
Man y mae cerddorion yn gywair
gyson."

Ynghanol awdl i Dduw a Mair, y mae un yn meddwl am ei ddiwedd, pan fyddai "yn nhywyll, heb gannwyll, i'm gorsedd, gwedi meirch ac ymddwyn glasfedd," wedi myned "mal dail o flaen gwynt dadwedd." Cofia fel y doi henaint ar ddyn—

"Dynesa henaint a lled arnad,
Dy glust, dy ddrem, dy ddaint, neud adwedd
Dychrycha croen dy fysedd."

Yna daw'r gwanwyn i'w feddwl, a rhydd yntau lun bach tlws mewn chwe llinell, cyn troi i'r ochr ddu eilwaith:—

"Cyntefin ceinaf amser,
Dyar [swn] adar, glas calledd [cyrs],
Ereidr yn rhych, ych yng ngwedd,
Gwyrdd mor, brithotor [amryliw]
tiredd;
Ban ganont, cogau, ar flaen gwydd
gwiw,
Handid mwy fy llawfrydedd."

Yng ngherdd y gaeaf, cawn fwy o'r ddawn hon, ac y mae ias yr oerfel yng ngeiriau cwta'r bardd:—

"Llym awel, llwm bryn, anhawdd caffael clyd,
Llygryd rhyd, rhewid llyn,
Rhysaif gwr ar un conyn.

Ton tra thon, töid tu tir,
Goruchel gwaeddau rhag bron bannau
bre,
Braidd allan or sefir."

Yna, o un peth i arall, cyfyd yr ias oer arnom—y "llwch" (llyn) yn oer ei liw, y cawn yn grin, a'r "calaf" (cyrs) wedi torri, yr awel yn flin, a'r coed "yn eu blwch," sef y llwm [cymharer y gair â'r Llydaweg blouc'h, "den iaouank blouc'h," dyn ieuanc di-farf]. "Oer gwely pysgod ynghysgod iäen;" "gosgupid gwynt blaen gwydd tew;" "gwyn goror mynydd, llwm gwydd llong ar fôr;" "cysulwyn cefn bryn, coch gwawr;" "hir nos, llwm rhos, llwyd rhiw;" "drycin ym mynydd, afonydd yng ngnif; gwlychid llif llawr trefydd; neud gweilgi gweled yr elfydd." [Sylwer mai hen derfyniad yr amser presennol, trydydd person unigol, oedd -id: rhewid—rhewa; töid—toa, &c. Gwydd — coed, Cysul — gwisg. Gnif—cyffro, Elfydd—y ddaear].

Yn gymysg a'r lluniau byw hyn, cawn linellau diarhebol, nad ymddengys fod cysylltiad yn y byd rhyngddynt â'r peth a ddisgrifir, megis "Meccid llwfr llawer cyngor"—mâg y llwfr lawer cyngor. Un gerdd sydd yn y llyfr âg ynddi gyfeiriad at gariad merch, a disgrifia'r bardd y sawl y breuddwydiodd am dani fel "bun deg liw gwaneg gro;" ond try yntau'n ebrwydd i ganu diarhebion.

Os yw'r Llyfr Du yn anodd, y mae Llyfr Taliesin yn anos fyth. Tybir ei

ysgrifennu naill ai ym Mynachlog Nedd neu Fargam, tua 1275. Prydyddiaeth, a briodolir i Daliesin, yw ei gynnwys i gyd. Gellir rhannu'r cerddi yn rhyw dri dosbarth, sef cerddi mynachaidd, yn cynnwys traddodiadau eglwysig; cerddi chwedlonol, yn cynnwys dychmygion yr ysgolheigion, ac efallai syniadau Pythagoraidd am drawsfudiad yr enaid; cerddi hanes. Pa bryd bynnag yr oedd Taliesin yn byw, diau nad ef oedd awdur yr holl gerddi sydd yn y llyfr. Dengys ymchwiliad manwl i'r testun a'r mesurau mai copïau amherffaith yw'r rhan fwyaf o'r cerddi, o bethau cynharach. A barnu wrth y mesurau, y mae lle i gasglu fod yr ysgrifennydd yn fynych wedi gadael darnau allan heb ddim i ddangos y bwlch; a cheir yn yr orgraff brofion ei fod yn copïo ac yn newid orgraff gynharach. Y mae'r cerddi mynachaidd ar destunau megis cyflafan y Gwirioniaid ("Marwnat y Vil Veib"), dydd y Farn ("Yrymes Dedbrawt"), "Plaeu yr Eifft," "Llath Foesen." Cymysgir Cymraeg a Lladin yn rhai o honynt. Ychydig y gellir ei alw yn farddoniaeth sydd yn yr hyn sy ddealladwy o'r cerddi, ond y mae llawer o ynni yn y disgrifiad o Ddydd y Farn, ac ymddiddan a chryn ddychymig ynddo rhwng Crist a'r colledigion. Y mae ef yn edliw iddynt eu beiau, a darfod iddynt ei groes-hoelio a'i wrthod. Gofyn iddynt deimlo ei draed, ei freichiau, ei ysgwyddau, a dywed na bydd maddeu iddynt am ei wanu â berau. Atebant hwythau:—

"A, wledig, ni wyddem Pan oedd ti a grogem,
Gwledig nef, Gwledig pob tud, Ni wyddem ni Grist tut vytut [? oeddud].

Bei a'th wybyddem, Crist, a'th athechem" [gadawsem lonydd iti].

Etyb yntau na dderbynnir gwad gan deulu'r dieifl—

"Nid arfollir gwad gan lwyth eisyfflad [rhai â swn chwythlyd],
Digonsawch [gwnaethoch] chwi anfad yn erbyn Dofyddiad,
Can mil engylion y sydd yn dyston
A ddaeth i'm cyrchaw gwedi fy nghrogaw."

Y mae'r cerddi chwedlonol yn fwy dyddorus, gan faint y gymysgedd ryfeddol o syniadau sydd ynddynt. Yn "Angar Kyvyndawt," cawn gyfeiriadau at Wion a pheiriau hud y Celtiaid; at Dduw a bedydd Cristnogol; at ddwyfol darddiad awen; at Annwfn; at "Dalhayarn, y sydd mwyaf sywedydd," at Eli ac Eneas, a Gwydyon. Gofynnir cwestiynau yr ysgolheigion, megis paham y mae'r anadl yn ddu, yr afu o waed, gwraig yn serchog, llaeth yn wyn, celyn yn las, heli yn hallt, llinos yn werdd, &c. Dywed y bardd y gwyddai ef y pethau hyn a llawer ychwaneg. Gwyddai i ba le yr âi'r gôg y gaeaf; dywedai ddyfnder afon, cyd bai ryd arni; gwyddai ba sawl paladr a fyddai yng nghad, pa sawl diferyn mewn cawod, &c. Yna, wedi moli Iesu yn Lladin, try i adrodd ei drawsfudiadau ei hun:—

"Ail gwaith ym rhithad, Bum las leisiad;
Bum gi, bum hydd, Bum iwrch ym mynydd;
Bum gyff, bum raw, Bum fwyall yn llaw;
Bum ebill yng ngefel, Flwyddyn a hanner."

Bu'n geiliog, yn farch, tarw, bwch, a gronyn o yd. Yn y cyflwr olaf, llyncwyd ef gan iar, a bu "naw nos yn ei chroth yn was." Erbyn y diwedd, Taliesin ydoedd. Ceir y trawsfudiadau rhyfeddol hyn mewn prydyddiaeth ac ystraeon Gwyddelig, ac hefyd yn chwedlau Llydaw. Yn Lloegr, duchanodd Donne ddychmygion tebyg yn yr unfed ganrif ar bymtheg.

Yn y cerddi hanes, i Urien ac ereill, cawn bethau mwy dealladwy a barddonol. Y mae "Gweith Argoet Llwyfein" yn ddisgrifiad bywiog o frwydr. Daw pedwar llu wyneb yn wyneb, Fflamddwyn, Owein, Ceneu fab Coel, ac Urien, yn eu harwain.

"Adorelwis Fflamddwyn, fawr drybestawd,
A ddodynt yng ngwystlon, a ynt parawd?
Ys atebwys Owain, dwyrain ffosawd,
Ni ddodynt, nid ydynt, nid ynt parawd."

Yna gelwir y lluoedd i'r gad, "a rhag Gwaith Argoed Llwyfain bu llawer celain, rhuddai frain rhag rhyfel gwyr.' Cerdd ragorol hefyd yw "Marwnat Owein." Ber yw, ond y mae egni a

rhuthr ynddi, bron nad yw'r acen yn rheolaidd drwyddi, ac y mae'n werth sylw fod "cengl" ar ei diwedd, yn null y llawysgrifau Gwyddelig, sef ei bod yn gorffen â'r pennill sy'n ei dechreu —nid unig ol Gwyddeleg ar y cerddi. Wele'r pennill cyntaf:—

"Enaid Owain ap Urien,
Gobwyllid ei ren oe raid [cofia ei arglwydd ei angen],
Rheged udd [arglwydd] ae cudd tromlas [? tywarchen],
Nid oedd fas ei gywyddaid [clod]."

Disgrifir Owain yn difa lluoedd Lloegr, gan eu gadael ar y maes "a'r lleufer yn eu llygaid," ac mai ffolach na rhaid oedd y rhai na ffoent rhagddo.

"Owain a'u cospes yn ddrud,
Mal cnud [haid o fleiddiau] yn dylud [ymlid] defaid;
Gwr gwiw uch ei amliw seirch [cyfrwyau],
A roddai feirch i eirchiaid."

Dengys yr holl gerddi i Urien gryn lawer o'r egni a'r gelfyddyd hon, ac y maent lawer yn fwy dealladwy na'r caneuon ereill. Ceir enwau gogleddol ynddynt yn ddiameu, a theitl un gerdd ddyrys iawn yw "Kwynaw Cunedda." Tebyg i'r "Afallennau" a'r "Hoianau" yw "Arymes Prydain Fawr." Yng "Nghanu'r Gwynt," ceir barddoniaeth natur a ganmolwyd lawer tro, ac y mae "Addfwynau Taliesin" yn cynnwys llinellau llafar a thlysion iawn:—

"Addfwyn eryr ar lan llyr [y môr] pan llanhwy [llanwo],
Arall addfwyn, gwylain yn gwarwy [chware]."
"Addfwyn Mai i gogau ac eaws,
Arall addfwyn pan fydd hin haws;
Addfwyn rhaith a pherffaith neithiawr,
Arall addfwyn, cyflwyn [anrheg] a garawr (garer)."

Y nesaf o'r hen lyfrau yw "Llyfr Aneirin," a ysgrifennwyd tua 1300, ac y sy'n cynnwys "Y Gododdin," y cyfansoddiad cyntaf yn Gymraeg, fel y bernir. Priodolir y gân i Aneirin, a'i chynnwys yw hanes y gwyr a aeth i frwydr Catraeth. Y mae hefyd gyda hi ganiadau byrrach, a elwir Gorchanau, wrth enwau Tudfwlch, Adebon, Cynfelyn, a Maeldderw. Oddigerth Gorchan Adebon, nad yw ond casgliad o ddiarhebion odledig, ceir ynddynt hwythau sôn am Gatraeth. Yn ol traddodiad, perthynai Aneirin a Thaliesin i lysoedd brenhinoedd o'r Gogledd, a fu'n rhyfela âg Ida, un o brif benaethiaid y Saeson yn y chweched ganrif, ac â'i feibion. Ceir yn y gerdd rai o'r enwau y sydd hefyd yng nghaneuon Llyfr Taliesin. Cesglir fod Aneirin a Thaliesin yn byw tua 550—570 Oed Crist. Felly, dyma'r anhawster: A allai'r Gododdin a'r Gorchanau fod wedi eu canu yn y chweched ganrif, a'r copi hynaf sydd gennym o honynt heb fod yn gynharach na thua diwedd y drydedd ar ddeg? Llawer dadl fu ar y pwnc, nad ellir eu dilyn yma. Am yr ymdriniaeth alluocaf arno a gyhoeddwyd eto, gweler ysgrifau Mr. Ifor Williams yn "Y Beirniad," 1911—1912. Ar bwys ymchwil Mr. Williams ac ereill, gellir dywedyd nad oes amheuaeth nad yw'r Gododdin yn mynd rai canrifoedd ymhellach yn ol nag adeg ysgrifennu Llyfr Aneirin. O dipyn i beth, daw ymchwiliadau ysgolheigion âg ychwaneg o oleuni ar y mater. Am y cerddi fel llenyddiaeth, nid oes gymaint anhawster. Pa le bynnag yr oedd Catraeth, a pha bryd bynnag yr ymladdwyd y frwydr, dyma glod y gwyr dewr a aeth yno, a pha beth a ddigwyddodd iddynt. Ceir y testun yn y Myvyrian Archaiology of Wales (Dinbych: T. Gee a'i Gyf., 1871), ac yn argraffiad Dr. Gwenogvryn Evans o Lyfr Aneirin (1910). Yn ddiweddar, cyhoeddwyd cyfieithad Saesneg gofalus o'r gerdd, hefyd, gan Syr Edward Anwyl. Ceir sylwedd y gân yn y pennill hwn:—

"Gwyr a aeth Gatraeth; oedd ffraeth eu llu;
Glasfedd [medd glas] eu hancwyn [amheuthun], a gwenwyn fu,
Trychant [trichant] trwy beiriant [? arfau], yn catäu [trefnu cad],
A gwedi elwch [bloedd lawen], tawelwch fu.
Cyd elwynt [elent] i lannau i benydu,
Dadl diau angeu i eu treiddu [mynediad]."

Wedi yfed y "Glasfedd melys maglawr" wrth "liw pabwyr," aethant i'r gad yn feddwon, yn llawen eu bloedd.

Ac yna, bu tawelwch. "Gwerth eu gwledd o fedd fu eu henaid," ebr y bardd. Eto edrydd eu gwrhydri, o un i un. Nid yw mor ffyrnig â'r beirdd diweddarach pan ddisgrifio ryfel; trychineb y lladdfa, ar ol y rhwysg a'r llawenydd, sydd yn effeithio arno. Ni fedr anghofio hoffed oedd ei gymdeithion, wyched oedd eu golwg dan eu harfau, gadarned eu rhuthr yn y frwydr, yn cymynnu gwyr fel brwyn, yn ymladd fel "eryr yn ebyr pan llithiwyd." Byddai swn eu tarianau fel taran; ambell un a'i darian yn ddellt ar ei ol. Lle byddai darian euraidd un o honynt yn y gadlan, byddai'r gwaewffyn yno yn uswydd. Rhedai Caradawg i'r frwydr fel baedd coed, fel tarw byddin, a llithiai gwn gwylltion o'i law. Bygythiai Morien dân ar ei elynion; "ni thraethai na wnelai Gynon gelain," a'r "neb a wanai, nid adwenid." Felly y gwelai'r gad ac y dengys hi i ninnau. Gwelwn yn ei ganu ogoniant y wledd, y medd gloew yng ngoleuni'r pabwyr, y llawenydd diofal; yr ymladd gwyllt, lle y mae'r arwyr yn rhuthro o'n blaen, megis yn niwl yr oesau, yn ddewr, yn ysblennydd; ac nid mor greulon â'u gwaith gwaedlyd, canys medrodd y bardd awgrymu ymhob pennill ryw dynged oedd fel pe bai'n eu gorfod i'w hymdrech a'u tranc. Ac felly yr oedd. Rhyfel "Cristnogion gwareiddiedig," masnachol, heddyw sydd greulon a chythreulig; ac y mae hyd yn oed y Gogynfeirdd yn greulonach nag awdur y Gododdin. Ar ddiwedd pob pennill, nid all ef lai na thirioni wrth feddwl am y dinistr. Gwelai "lawer mam ae deigyr ar ei hamrant;" dywedai fod cleddyf y rhyfelwr yn "seinio ym mhen mamau;" medrai droi oddiwrth y lladdfa i ddywedyd ei feddwl ei hun am y medd, "cyd bei da ei flas, ei gas, bu hir," ac i gofio am y llan lle'r oedd penyd a gorffwys. Dywedais fod effaith diwylliant Lladinaidd ar ddechreuad llenyddiaeth Gymraeg. Dyma ei ol, mewn symledd arddull, cynhildeb ymadrodd, mawredd bryd a lledneisrwydd chwaeth, na cheir monynt yn awdlau Cynddelw Brydydd Mawr a'i gymheiriaid, gyda'u cynghanedd drosgl, eu harddull eiriog, a'u mesurau cymysg. Am y rhesymau hyn, saif y Gododdin yn llenyddiaeth y Cymry bron fel y saif yr Iliad yn llenyddiaeth Groeg a'r Ænid mewn llenyddiaeth Lladin.

Yn Llyfr Coch Hergest, ac yn y Myvyrian Archaiology, ceir nifer o ganiadau a briodolir i Lywarch Hen. Copïwyd y Llyfr Coch yn niwedd y bedwaredd ganrif ar ddeg a dechreu'r bymthegfed, felly gwyddom nad yw ei gynnwys yn ddiweddarach na'r cyfnod hwnnw. Anodd profi pa faint cynharach yw llawer o'r pethau sydd ynddo. Diau fod cerddi cymharol ddiweddar wedi eu priodoli i Lywarch Hen, megis i Daliesin, ond y mae'n lled sicr hefyd fod rhai pethau sy'n dwyn ei enw yn llawer cynharach na chyfnod y Llyfr Coch. Pa mor bell yn ol yr ânt, nid ellir eto brofi. Myn rhai mai yn amser llwyddiant Gruffudd ap Cynan y canwyd hwynt, ryw bedwar can mlynedd ar ol marw Llywarch, ac i brofi hynny, dywedant fod ym marwnadau Geraint fab Erbin, Urien Rheged, Cynddylan a Chadwallon, gyfeiriadau at bethau diweddarach na'r chweched ganrif. Fe allai fod hynny yn wir, ac y mae yn ddiau yn wir bod yr orgraff, ac hyd yn oed y geiriau, wedi eu diweddaru wrth eu copïo. Heblaw hynny, ceir rhai o'r cerddi yn y Llyfr Du, megis Marwnad Geraint, a'r Tribannau lle disgrifir y gaeaf, ac y sonnir am Fechydd fab Llywarch; ac y mae'r mesur yn sicr yn hŷn na mesurau cyfnod Gruffudd ap Cynan. Enwir Llywarch Hen, gydag Aneirin a Thaliesin, gan Nennius, ac nid yw'n amhosibl bod y pethau hynaf a briodolir iddo yn cynnwys o leiaf rywfaint o'i waith gwirioneddol.

Fel llenyddiaeth, y mae'r cerddi hyn yn ddyddorol. Byrion yw'r pennillion a chwta yw'r iaith, hollol anhebyg i fesurau ac iaith beirdd oes Gruffudd ap Cynan. Disgrifir Geraint yn ymladd ac yn cwympo yn "Llongborth." Ceir yr un gair—"Longphort"—yn yr Wyddeleg, a'i ystyr ynddi hi yw caer, amddiffynfa, neu borthladd, fel y mae'n bosibl mai nid enw priod ydoedd. Rhuthr y meirch a'r gwyr, fel "goddaith ar ddiffaith fynydd;" llif y "gwaed hyd ddeulin;" ac "eryfain [lluoedd?] brain ar goludd" yw cynnwys y gerdd. Nid oes ynddi ddim o dynerwch Y Gododdin. Ceir hwnnw, hefyd, ym marwnad Urien. Gwelai y bardd Urien wedi ei ladd, "ac ar ei fron wen frân a'i hys [ysu—bwyta];" gwelai ddodi'r "gelain feinwen" "a dan bridd a main;" gwelai Eurddyl yn drist, ladd ei brawd yn Aber

Lleu; gwelai, yn wag ac yn adfail, yr aelwyd lle buasai fwyd a diod a llawenydd gynt. Y mae hiraeth yn ei eiriau ac felly yn enwedig ym Marwnad Cynddylan. Nid anfedrus ychwaith yw cyfansoddiad y gerdd honno. Cyfodir Cynddylan o'n blaenau fel y dewr "calon goddaith wanwyn," na byddai a safai rhagddo. Yna, mewn rhes o benillion, disgrifir ei ystafell wag. Nid allai fod dim mwy effeithiol na 'r symledd a'r cynhildeb hwn:—

"Ystafell Cynddylan, ys tywyll heno,
Heb dân, heb wely;
Wylaf dro, tawaf wedy.

"Ystafell Cynddylan, ys tywyll heno,
Heb dân, heb gannwyll;
Namyn Duw, pwy a'm dyry pwyll?

"Ystafell Cynddylan, a'm gwân ei gweled,
Heb döed, heb dân;
Marw fy nglyw [glyw—arglwydd], byw fy hunan."

Yna, clyw 'r bardd yr eryrod yn ysgrechian uwch ben maes y frwydr, yn "eiddig am gig Cynddylan!" Gwelwn "Eglwysau Basa" ar ol y lladdfa wedi eu difa a cholli eu braint, "ys gwaedlyd eu meillion;" a'r "dref wen ym mron y coed," hithau âg "ar wyneb ei gwellt, y gwaed." Y mae rhan olaf y gerdd yn fwy cymysg, fel petai 'n cynnwys pethau diweddarach. Cerdd ragorol hefyd yw cerdd dybiedig Llywarch i'w Henaint a'i Feibion. Ceir rhai o'r penillion ymhlith "Englynion y Beddau" yn y Llyfr Du. Lladdwyd ei bedwar mab ar hugain yn y gad; galara yntau ar eu hol o un i un ,gan nodi eu campau. Yn hen wr, wedi colli ei flas at bopeth a garai gynt, cofiai am ei feibion, a chyffelybai ef ei hun yn ei henaint i'r ddeilen:—

"Y ddeilen hon, neus cynired gwynt [gyr y gwynt hi],
Gwae hi o'i thynged;
Hi, hen; eleni y ganed!"

Ceir yr un duedd fewnol yn y gerdd "I'r Gog, yn Aber Cuawg," ond nid yw "Marwnad Cadwallawn" yn debyg i waith yr un un. Yn y pethau ereill a briodolir i Lywarch, megis "Y Gorwynion," "Y Gnodau," a'r "Tribannau," y mae mwy o ddoethineb diarhebol nag o farddoniaeth.

Diweddar, fel y dywedwyd, yw llawer o'r pethau a briodolir i Fyrddin. Gesyd traddodiad enwau Llefoed, Golyddan, Meigant, Elaeth, Tysilio, Cuhelyn, Gwyddno a Gwydion ap Don ymhlith y Cynfeirdd, ac nid anhebyg nad yw'r rhan fwyaf o'r ychydig gerddi a gysylltir â'u henwau yn hen.

---

## II. BEIRDD Y TYWYSOGION.

Os nad oes sicrwydd am waith tybiedig y Cynfeirdd, nid oes amheuaeth ynghylch cerddi Beirdd y Tywysogion. Ceir casgliad o'u gwaith hwy yn y Llyfr Coch ac yn y Myvyrian Archaiology. Yn y Myvyrian, gelwir hwy Gogynfeirdd, gair a arferodd y golygyddion, y mae'n debyg, i ddynodi rhai diweddarach na'r Cynfeirdd. Byddai Beirdd y Tywysogion yn well ac eglurach enw arnynt, canys cyfnod y Tywysogion yw'r cyfnod hwn yn enwedig. O gwmpas y Tywysog a'i lys y try popeth; ei orchestion ef a ganmolir, ei weithredoedd ef a adroddir, a'i farwolaeth ef a alerir gan y beirdd i gyd. Y mae enw pob Tywysog bron yn adnabyddus, a llawer o'u gweithredoedd yn hysbys, ac nid ydym heb wybod rhywbeth am y beirdd sy'n canu am danynt.

Y mae'r cyfnod hwn yn ymestyn o ddechreu'r ddeuddegfed ganrif hyd tua diwedd y bedwaredd ar ddeg, ysbaid o dros ddau can mlynedd, ac y mae yn y Myvyrian weithiau rhyw drigain o feirdd a ganodd yn ystod y canrifoedd hynny, yn dechreu gyda cherddi Meilyr tua 1137, ac yn diweddu gyda chanu Gruffudd ap Maredudd, o gwmpas 1382.

A siarad yn fanwl, y mae'n wir y gellid dywedyd fod Beirdd y Tywysogion wedi darfod gyda chwymp Llywelyn ap Gruffudd yn 1282; ond yr un mesurau, yr un geiriau a chystrawen, yr un gynghanedd at ei gilydd, a'r un dull yn union y sydd gan y beirdd ar ol y digwyddiad hwnnw hyd tua diwedd y bedwaredd ganrif ar ddeg; a chanu yr oedd ynt i Arglwyddi a gwyr mawr, o'r un dosbarth a safle, mewn gwirionedd, â'r Ty-

wysogion Cymreig cyn cwymp Llywelyn. Er bod yr hen anibyniaeth gwleidyddol wedi ei golli, ni chollodd y Cymry anibyniaeth eu meddwl am ganrifoedd, a pharhaodd y traddodiad llenyddol yr un fath âg o'r blaen am gan mlynedd ar ol marw Llywelyn.

Fel y dywedwyd, y mae yn y Myvyrian waith trigain o feirdd yn perthyn i'r cyfnod hwn o ryw ddau can mlynedd, lle nad oes sôn ond am ryw hanner dwsin o'r Cynfeirdd, a'r rhai hynny yn canu am arwyr y chweched ganrif, os nad cynt. A rhoi fod cerddi 'r Cynfeirdd, fel y dadleua Skene, wedi eu trefnu a'u gosod wrth ei gilydd yn y seithfed ganrif, ar ol buddugoliaethau Cadwallon, pa beth am y bwlch rhwng hynny â'r ddeuddegfed ganrif, cyfnod o bedwar can mlynedd, sydd heb waith unrhyw fardd i'w gael yn ei hanes?

Yn ystod y cyfnod hwnnw, bu yng Nghymru tua dwsin o frenhinoedd, a bu hanes cynhyrfus arwraidd i bob un o honynt—digonedd o ddeunydd i fardd ac ystoriawr. Wedi brwydro llawer, bu farw Cadwaladr yn 664; Rhodri Molwynog yn 755; Cynan Tindaethwy yn 815; Merfyn Frych yn 840. Pan ddaeth Rhodri Mawr i'r orsedd yn 840, yr oedd y wlad yn llawn helyntion aruthr. Mewn brawddegau cwta, rhydd Brut y Tywysogion yr hanes:—" Ac y bu farw Merfyn. Ac y bu waith Ffinant. Ac y llas Ithel brenin Gwent y gan wyr Brycheiniog. Deng mlynedd a deugain ac wyth cant oedd oed Crist pan las Meurig y gan y Saeson. Ac y tagwyd Cyngen y gan y genhedloedd. Ac y diffeithiwyd Môn y gan y cenhedloedd duon." Ond gwr dewr oedd Rodri, a threchodd y cenhedloedd duon, gan ladd eu pennaeth Horm. Bu farw yn 878, gan adael ei deyrnas rhwng ei dri mab. Buont hwythau feirw cyn 916, a daeth Hywel Dda i'r orsedd. Rhoes Hywel drefn ar y wlad, ar waethaf anhawsterau, a pharodd ddiwygio ac ysgrifennu 'r cyfreithiau. Bu yntau farw yn 950, a theyrnasodd Llywelyn ap Seisyll ar ei ôl o 1010 hyd 1027. Bu'r wlad yn llwyddiannus a lled heddychol tano ef, ond daeth y Saeson drachefn, a bu Gruffudd ap Llywelyn yn ymladd â hwy yn ddewr hyd ei farwolaeth yn 1063.

Dyna ddeunydd i'r beirdd, ond nid oes dim o'u gwaith ar gael. Nid oes amheuaeth nad oedd i bob un o'r brenhinoedd ei fardd, i ganu ei orchestion, ond fe gollwyd eu gwaith i gyd. Dylid cofio mai coed oedd y tai a'r eglwysi, ac y byddai'r rheiny yn cael eu llosgi beunydd yn yr ymladdau parhaus. Felly nid oedd siawns i ddysg na diogelwch i lyfrau. Eto, sut y cadwyd gwaith y Cynfeirdd? Dyma fwlch dyrys llenyddiaeth Gymraeg. Ond pwy ŵyr faint o bethau oedd ar gael yn y ddeuddegfed ganrif nad ydynt hysbys i ni?

Pa wedd bynnag, daeth Gruffudd ap Cynan o'r Iwerddon i'r Gogledd yn 1075, a Rhys ap Tewdwr o Lydaw i'r De. yn 1079, i hawlio tiroedd eu hynafiaid. Ac yn union wedyn, cawn farddoniaeth yn y Gogledd a rhamantau yn y De. Berr fu gyrfa Rhys yn y De—bu farw yn 1091; ond bu Gruffudd ap Cynan yn llwyddiannus yn y Gogledd, a thebyg iddo adael peth o ddylanwad Iwerddon ar y wlad. Canodd Meilyr ei farwnad yn 1137, ac o hynny ymlaen, y mae'r beirdd yn canu moliant y Tywysogion yn gyson, a hanes y wlad yn gymysgedd o drychineb a rhamant, yn ddigon weithiau i danio ysbryd dyn, a phryd arall i dorri ei galon.

Am gorff llenyddiaeth y cyfnod hwn, cerddi rhyfel ydyw, moliant a marwnadau, ac yn gymysg â hwy, ambell gerdd dduwiol, cerddi serch, a darnau disgrifiadol. Canai Meilyr i Drahaern, ac wedi hynny i Ruffudd ap Cynan, ar ol i hwnnw drechu a lladd Trahaearn. Yr oedd Gwalchmai ap Meilyr, Cynddelw Brydydd Mawr, a Daniel ab y Llosgwrn Mew yn clodfori Owain Gwynedd, Owain Cyfeiliog, yr Arglwydd Rhys, Llywelyn ab Iorwerth, ac ereill. Canodd Llywarch ap Llywelyn " Prydydd y Moch,' i Ddafydd ab Owain, Rhodri ab Owain, ac ereill. Canwyd mawl Llywelyn ab Iorwerth, Gruffudd ap Llywelyn, a phendefigion amryw, gan Ddafydd Benfras, Einion ap Gwalchmai, ac Elidir Sais; bu Llygad Gwr a Gruffudd ab yr Ynad Coch yn clodfori Llywelyn ap Gruffudd, a Bleddyn Fardd yn canu i Ddafydd ap Gruffudd a'i frodyr. Wedi cwymp Llywelyn, canai Gwilym Ddu o Arfon, Tudur ap Maredudd ap Dafydd, a Gruffudd ap Maredudd i amryw bendefigion, megys Syr Gruffudd Llwyd a Thudur ap Goronwy.

### (a) Y Cerddi Rhyfel a'r Marwnadau.

Trwm ac afrosgo yw dull y beirdd hyn yn gyffredin, ac y mae eu geiriau a'u

cystrawen yn hen. Eto y mae eu hiaith yn gyfoethog iawn, yn enwedig o dermau rhyfel a geiriau cyfansawdd grymus. Y mae rhagymadrodd Syr Edward Anwyl i'w gweithiau ["The Poetry of the Gogynfeirdd," Gee a'i Fab, 1909] yn gymorth gwerthfawr i'w hastudio. Yr un peth yw sylwedd eu mawl, fel rheol, ac arferant yr un termau canmoliaethus am y rhyfelwyr bron i gyd. Gwir fod effaith yr hen draddodiad yn gwanhau yn raddol, a'r arddull yn araf symleiddio, ond nid yn gymaint yn y cerddi rhyfel ag yn y marwnadau a'r cerddi dihewyd.

Ceir tair awdl o waith Meilyr yn y Myvyrian. Nid yw'r Awdl i Drahaearn ond dernyn, ar lun darogan neu broffwydoliaeth am ddiwedd Trahaearn. Cerdd dduwiol yw "Marwysgafn Feilyr Brydydd," y cawn ei chrybwyll eto. Y mae'r drydedd, Awdl Fawrnad Gruffudd ap Cynan, yn cynnwys 172 o linellau, ac yn fwy o gerdd ryfel nag o farwnad, fel, yn wir, y mae'r rhan fwyaf o farwnadau'r cyfnod. Ynddi, y mae Meilyr yn galw Gruffudd ap Cynan yn "flaidd byddin," "mur cadau," "gweinion wasgawd," "Brenin brwydr efnys," "mur ced," "Eingl ddidudydd," ac enwau clodforus o'r fath wrth y dwsin; ac nid yw ei linellau yn fynych yn ddim amgen na rhes o'r termau hyn wedi eu gweu i'w gilydd. Nid edrydd ystori o gwbl am orchestion Gruffudd, ac ni wybuasem ond ychydig o hanes ei frwydrau oddiwrth gyfeiriadau'r bardd atynt. Ei ddull yw pentyrru'r geiriau canmol ar ei gilydd, enwi maes brwydr yma ac acw, crybwyll haelioni Gruffudd ato ef yn arbennig, a throi eilwaith a thrachefn at ei farwolaeth, ar ddiwedd pob pennill. Weithiau, cyfyd uwchlaw hyn, a rhydd i ni rywbeth amgenach na rheffyn cywrain o enwau moliannus heb nemor gysylltiad rhwng y naill â'r llall:—

"Pan fâi gyflüydd [brwydr] o wyr gwychawg,
Atgoryn [ymddygent], deyrnedd, yn weinyddawg,
Pob pump, pob pedwar yn wâr, weiniawg [fel gweision]
Gwylynt, golithrynt yn ogelawg [gwyliadwrus]
Rhag un mab Cynan, y cyndyniawg."

(Gwylynt—gwylient; golithrynt—golithrent, fel yr ysgrifennem ni heddyw). Ar ol y llun hwn, cawn res hir o enwau, ac yna grybwylliad am frwydr Mynydd Carn, lle lladdwyd Trahaearn, mewn rhyw ddwy linell:—

"Amugai [amddiffynnai] dragon udd [arglwydd] Môn meinddydd
Men yd las [man y lladdwyd] Trahaearn yng Ngharn Fynydd."

Dyddorol yw cymharu'r cyfeiriad hwn â'r disgrifiad o'r frwydr hono a geir ym "Muchedd Gruffudd ap Cynan," a ysgrifennwyd mewn iaith rydd, yn Lladin, y mae'n debyg, ac a drowyd wedyn i'r Gymraeg:—

"Ac yna y bu frwydr ddirfawr i chof i'r etifedd wedi eu rhieni. Gewri [llefau] yr ymladdwyr a ddyrchafwyd i'r awyr; seiniaw a orug [a wnaeth] y ddaear gan dwrf y meirch a'r peddyd [gwyr traed]; y sain ymladdgar a glywid ymhell; cynnwrf yr arfau a seiniai yn fynych. Gwyr Gruffudd yn dwysaw [rhuthro ynghyd] yn wychr [dewr] ac eu gelynion yn darostwng uddunt. Chwys y llafur a'r gwaed yn gwneuthur ffrydiau rhedegawg. Ac yn hynny, Trahaearn a drychwyd [a glwyfwyd] yn i gymherfedd [ei ganol] oni ydoedd i'r llawr yn farw, yn pori â'i ddannedd y llysiau ir, ac yn palfalu ar warthaf yr arfau."

Ni ddaw'r bardd Meilyr yn agos at y rhyddieithwr di-enw a wnaeth y darn grymus yna, o ran llawnder. Eto, y mae gan Meilyr ar brydiau linellau a ddeil gymhariaeth â gwaith y rhyddieithwr, megis y rhai hyn, lle y mae'n disgrifio rhuthr Gruffudd drwy'r wlad:—

"Tyrfai rhag llafnau, pennau peithwydd [gwiail gwehydd]
Caith [caethion], cwynynt, cerddynt gan elfydd [hyd le gwyllt],
Cnöynt, frain, friw-gig o lid llawrydd [llaw-rydd?],
Llenwy[n]t du reawr [meirch?] i fawr feysydd;
Delid meirch amliw [brith] a biw elfydd [gwartheg gwylltion?]
Gwern Gwygyd, gwanai bawb yn i gilydd,
Gwaed gwyr, goferai, gŵyrai onwydd [coed ynn]."

Tebyg eto yw canu Gwalchmai i Owain Gwynedd a'i feibion. Y mae

dwsin o'i awdlau ef ar gael, y cwbl, ond dwy neu dair, yn gerddi rhyfel. Ceir yr un geiriau canmol ganddo, yr un galar am y nawdd a gollodd ym marwolaeth ei wroniaid, a'r un cyfeiriadau cwta at eu brwydrau. Yn ei awdl ar Frwydr Tâl Moelfre yn Sir Fôn yn unig y ceir ganddo ddim tebyg i ddisgrifiad cysylltedig â'i gilydd o'r ymladd. Yn honno, edrydd fel y daeth tair llynges dros fôr yn erbyn Owain Gwynedd, a rhydd ddisgrifiad grymus a barddonol o'r frwydr, yn cynnwys y llinellau hynny, a ddyfynnwyd lawer tro—

"A Menai heb drai o drallanw gwaedryar,
A lliw gwyar gwyr yn heli,"

sef bod Menai heb drai gan lif y gwaed a gochai'r don. Mewn gwirionedd, y mae ei ddwy linell nesaf yn llawn cystal, am eu bod yn gynhilach:—

"A llurigawr glas, a gloes trychni,
A thrychion yn dudd rhag rheiddrudd ri,"—

"y llurigau'n las, a gloes y clwyfo, a'r clwyfedigion yn haen rhag gwaew coch y brenin." Anaml y ceir gan y beirdd gystal disgrifiad â hwn. Telynegol yn arbennig yw natur y gerdd, brawddegau byrion lluniau byw, y naill yn dilyn y llall yn gyflym. Nid erys y bardd i orffen ei ddisgrifiad. Nid oes dim o swyn prudd atgof yn ei waith, oddigerth pan sonio am y marw, ac y cofio fel y byddai hwnnw pan oedd fyw. Pan gano felly, daw dwyster mwy i'w gerdd. Wrth son am feibion Owain—Cadwallon, Cadwaladr, a Madog—dywed:—

"Yrddudd [erddynt], urddas gymhelri [brwydr],
Calon clywaf yn llosgi!"

Y mae un llinell fel yr olaf yn werth mil o'r mawl cyffredin a geir ganddo.

Yn ei gerddi i Owain Gwynedd, y mae gan Gynddelw Brydydd Mawr weithiau ambell linell Homeraidd. Gwr â llygad i weled yr erchyll ydoedd, a dawn i'w fynegi hefyd, pan anghofiai ei gelfyddyd. Gwelodd frwydrau ar frwydrau, ag Owain yn cario'r dydd ynddynt. Disgrifia Owain yn rhuthro drwy'r tir, gan adael dinistr coch ar ei ol ym mhobman:—

"Llafn yn llaw, a llaw yn lladd [torri] pennain [pennau],
Llaw ar llafn a'r llafn ar llu Norddmain;
Ac eryfoedd [lluoedd?] trwm rhag tremid angau,
Wynedd [gwnedd—glewder?] crau [gwaed] ac eryfain [rhuthro?];
A gnawd [naturiol] y cigleu [clywai] adneu [ysglyfaeth] ednain [adar]
Ar edrywan [aroglau?] gwân gwaew yn adain [aelod];
Ar edrywedd [aroglau] gwaed gwaeddai gigfrain,
Marchogynt feirw ar fil frain!"

Weithiau, daw ias o dosturi drosto wrth ddisgrifio'r pethau ofnadwy a welodd:—

"Gwelais gadau geirw, a rhudd feirw rhain [oer],
Oedd rydd i fleiddiau eu hargyfrain [ysglyfaethu];
Gwelais eu hadaw heb eu hadain [aelodau?]
O dan draed adar, gwyr gwanar [arglwydd] gwain;
Gwelais eu trychni, trichan celain,
Gwelais gwedi cad, coludd [ymysgaroedd] ar ddrain!"

"Gwelais ar Saeson, trychion truain,
Cyn dydd di-fedydd, fedel cyngrain [llwyr?]."

"Gwelais . . . wrthlu yng nghrain [ar lawr],
Yn yd byrth berthdud golud gwylain!"

"Onid oedd gwyr teg, goludog, yn ymborth i'r gwylain." Tarawai pethau fel hyn ffansi Cynddelw. Bob tro y cofiai am y brwydrau, cynhyrfai y bardd ynddo yn llawer mwy na phan gofiai am y gwleddau. A'u cofio blith drafflith y byddai. Ar ol y darnau a ddyfynnwyd, rhydd resi hirion o enwau clodforus ar Owain, a llinell ar linell am y medd a'r gwin a geid yn ei lys gynt. Mewn un pennill hyawdl, edrydd sut un oedd Owain pan fyddai yn ei rwysg, fel y byddai dirion wrth dirion, garw wrth arw, chweg wrth chweg, chwerw wrth chwerw, gwrdd wrth wrdd, glew wrth lew, a gŵyl wrth ŵyl. Ond anaml y ceir ganddo gyffyrddiadau personol felly. Cyn hir, daw brwydr arall i'w gof. Daw ei egni yn ol wrth ddisgrifio gwyrdd heli Teifi yn tewychu gan waed gwyr; clyw'r adar rhaib yn galw am eu gwledd, gwel

hwy'n nofio ar y dwfr gwaedlyd; a chlod Owain ganddo oedd ei fod, pan oedd fyw, yn porthi cŵn gwyllt y coed—"Gwyddgwn coed, colled a'u porthai!"

Ond gyda gorffen y disgrifiad hwn, cawn eto benillion cyfain o'r mawl cyffredin—geiriau canmol yn unig, a chynghanedd yn eu llethu:—

"Arddwyreaf hael, hawl diachor,
Aerdarf arynaig aerdorf angor,
Aerfawr fuddfawr falch, gwalch gweilch goror,
Aer gyngrwn ysgwn eisdwn aesdor."

Dyma wendid Cynddelw. Ei gryfder oedd ei ddisgrifiadau o erchyllter rhyfel, a'i feistrolaeth ar eirfa'r ymladdwr. Gwr eofn, caled ydoedd, heb ond ychydig dosturi yn ei natur. Eto carai ei gyfeillion. Weithiau, daw tynerwch i'w eiriau wrth sôn am danynt; ffraeai â hwy, ond canai i'w cymodi drachefn. Ceir 49 o'i ganiadau yn y Myvyrian, bron i gyd o natur ryfelgar.

Yn "Hirlas Owain," gan Owain Cyfeiliog, Tywysog a Bardd, cawn gryn lawer o'r ddawn sydd yn y Gododdin, y tynerwch nad yw bron ar gyfyl Cynddelw. Yn wir, ceir rhai o eiriau'r Gododdin yn y gerdd. Yr oedd y Tywysogion, yn 1165, wedi uno â'i gilydd yn erbyn Harri'r Ail a'i Saeson, ac yn gwersyllu yn agos i Gorwen. Yno, y mae'n debyg, y canodd Owain Cyfeiliog gerdd yr Hirlas. A cherdd ardderchog ydyw. Yn y wledd y maent, wedi'r frwydr. Pan dorrodd y wawr y bore hwnnw, clywwyd bloedd, ac aed i'r gad. Erbyn yr hwyr, "geleurudd [coch eu heirf] ein gwyr gwedi lludded trwm, tremid gofwy mur Maelawr Drefred." Ond yn y wledd y mae Owain yn erchi i'r menestr—y gwas—lenwi'r corn medd a'i ddwyn i'r dewrion.

"Dwg y corn," meddai, "i Rys ac i Wgan, gwyr a fynnai dâl ymhob brwydr. Dwg ef i Gynfelyn, anrhydeddus feddw o fedd gorewyn; a dyro i Ruffudd, waewrudd elyn, y gwin a'r gwydr coch yn ei gylchyn. Dyro'r corn i Ednyfed, y sydd yn y gad fel toredwynt yn rhuthro dros y tir; dyro ef i Selyf a Thudur, dau a'u cad fel gwynt yn gwaeddfan uwch glan glasfor. Eto, dwg y corn â'r hen arian am dano i Dudur a Moreiddig, dau nad oes sefyll rhagddynt."

Ac yna, cofia'r Tywysog fod y ddau wedi syrthio, ac nad oeddynt yno mwy i yfed y medd gloew.

"Moliant yw eu rhan, y rhai gwynnau [ymladdgar?]
Marwnad fu, neud mi [meu dru?] newid y ddau!
Och, Grist! mor drist wyf o'r anaelau
O goll Moreiddig, mawr ei eisiau!"

Yna gorchmynnir dwyn y corn i ereill, a disgrifir eu gwrhydri mewn llinellau grymus, lawer o honynt yn peri cofio'r Gododdin. Y mae eu swn yn datsain fel swn arfau, a'u hymdaith anwastad yn gadarn fel cerdded gwyr i frwydr. Dyma'r gerdd ryfel gryfaf o waith beirdd y cyfnod hwn, y fwyaf gorffenedig a chysylltedig â'i gilydd, er bod ffurf llawer iawn o'r geiriau yn ansicr. Y mae awyr y wledd o'n cwmpas yn y gerdd; y tân mawr a'r pabwyr goleu, y corn buelin a'r aur a'r arian yn fodrwyau am dano; y gwydr goleu a'r gwin yn cochi ynddo; y ddiod frag yn ewyn yn y corn. Ond drwy'r cwbl y mae symudiad a thwrf, ysblander a dychryndod y maes lle'r oedd dynion yn eu lladd ei gilydd; y mae'r gwyr a'u hwynebau eto'n waedlyd, a'u harfau eto heb sychu ar ol gwaith y dydd; y mae eu tarianau wedi eu bylchu a'u dryllio; lladd oedd eu gwaith, ac y maent wedi ei wneud. Y llew, y blaidd, a'r eryr yw eu patrymau; y gwynt pan ysgubo drwy'r coedydd, a'r dymestl pan lefo uwch ben y môr, a'r don pan gynddeiriogo ar y creigiau. Creulon oedd y gwyr; am hynny y canmolai y bardd hwy; clwyfau oedd eu hymffrost, a gwaed eu gelynion oedd eu hanrhydedd. Eto rhed tynerwch drwy'r gerdd; sonnir am yr hiraeth a barai swn cyrn "Bugelydd Hafren:" fel y byddai Foreiddig yn hoffi cerdd; ac weithiau, daw llinell neu ddwy yma ac acw a deifl lewych disglair, prudd, ar y trymder i gyd, megis—

"Neud oedd gochwys pawb pan atgorsant,
Neud oedd lawn o haul hirfryn a phant."

Tebyg o ran arddull a thymer i Gynddelw yw Llywarch ap Llywelyn, "Prydydd y Moch." Gwr gwyllt ydoedd, yn canu mawl meibion Owain Gwynedd, ac ereill, bob yn ail â'u bwgwth a chanu marwnadau ar eu holau. Cyhuddwyd ef

o ladd Madog ab Owain Gwynedd, y gwr y lluniwyd rhamant darganfod America o gwmpas ei enw; a chanodd yntau "Awdl yr Haearn Twym," yn erfyn nawdd Dduw a'r Saint i brofi, drwy gerdded yr haearn poeth, ei fod yn ddieuog. Yr un hefyd yw arddull a natur y canu rhyfel gan Ddafydd Benfras (1190—1240), Einion Wan (1200—1250), Seisyll Bryffwrch (1160—1210), Llygad Gwr (1220—1270), Elidir Sais (1160—1220), Llywelyn Fardd (1230—1280), Bleddyn Fardd (1250—1290), Phylip Brydydd (1200—1250), Y Prydydd Bychan (1210—1260), ac ereill llai eu nôd. Weithiau, cyfodant uwchlaw'r arddull eiriog, megis y cyfyd Dafydd Benfras yn ei egni a'i yni wrth foli Llywelyn ab Iorwerth a Gruffudd ap Llywelyn, ac Einion ap Gwalchmai (1170—1220), wrth ddisgrifio gorchestion Llywelyn ab Iorwerth :—

"Ni sefis na thwr na bwr, bu crain,
Nag argoed na choed, na chadlys drain,
A rhag pyrth bu syrth Saeson yng nghrain,
Oedd trist maer, oedd claer cleddyf o'r wain."

Yn y marwnadau yn ddiameu y ceir gwaith goreu Beirdd y Tywysogion. Y mae egni ac angerdd ym marwnadau Dafydd Benfras. Gesyd Lywelyn ab Iorwerth yn nesaf at Dduw ei hun, ac eto ni fedr beidio âg "ymgerydd â Duw" am golli Llywelyn :—

"Maith im gwnaeth alaeth, ac arwydd
Arnaf, mi rydynnaf dan ei aflwydd!
Mor draws fu Iesu am aes [i'm oes?] ddigwydd
Mor [mawr?] dreisiwr, hagen, a'm hen rhadlwydd;
Mor drist yw ein byw, bod glaflwydd derfyn
Ar rudd Llywelyn, llaw gyfanrwydd!"

Edrydd gampau Llywelyn, ond cofia eilwaith am ei gwymp, a thyr allan eto yn ffyrnig—

"Cam y gorug Duw, o debygrwydd,
Cyn bu drwch [wedi ei ladd], na bu drichanmlwydd!"

"Goreu oedd ein marw i gyd!" meddai drachefn. Ceir llinellau grymus yn ei farwnad i Ruffudd ap Llywelyn hefyd. "Am rym llym y lleim fy nagrau," meddai, a thrachefn, "Aml im gwnaeth hiraeth hir anadlau." Ond ofer oedd y cwbl bellach; daw digalondid ac edifeirwch trosto—oni buont ry draws gynt?

"Cynnyg gweddi ini oedd goreu,
Gwedi gwawr Cymru, cymryd croesau;
Cymerwn, iolwn [gweddïwn] o iawl seiniau [saint],
A syniwn ar beth o'r pregethau."

Ond nid hir y pery'r edifeirwch—daw'r siomedigaeth dymhestlog yn ol yn gymysg âg ef :—

"Rhy draws fuam gynt, hynt hir, diau,
Rhy drist y'n gwnaeth Crist, creaduriau!"

"Dychryn mawr, bod llawr ar llofrudd," meddai; y gwr a'r llaw rudd, hwnnw oedd yr arwr, a dyma ddarn llawn teimlad cynhyrfus, a'r iaith yn symlhau ynddo, a'r gynghanedd yn gynhilach :—

"Drwg, fab Duw, y daethost ataf!
Crist a ŵyr, yn llwrw [llwyr?] a ganaf,
Na wn am fy rhwyf [brenin] cw'dd wyf, cw'dd af [pa le 'rwyf, pa le 'r af]
O mynnwch, chwerddwch, mi ni chwarddaf,
Can [canys] mynnwn fy marw, ni mawr guddiaf;
Cyd ymguddioch chwi oll, mi ni allaf
Ymguddiaw dan llaw [dan gerydd] ban fo lleiaf!
Cyd ymguddio pawb, beth a gelaf?
Am farwnad Ruffudd, nid ymguddiaf;
Nid a eill cadarn, yn cadw eithaf,—
A all gwan, truan, trist, a allaf!"

Dyma ddyn yn ymladd yn ffyrnig â'i ddihewyd a'i deimladau, ac yn llefaru'n onest yn ei gyni. Mynych y ceir peth tebyg gan feirdd ereill. Cofiai Daniel ab y Llosgwrn Mew am Owain Gwynedd nes llosgai ei galon fel crinwydd mewn goddaith, ac nid oedd waeth ganddo pe daethai llanw o for a llif o fynydd a boddi'r byd. Achwynai yntau ar Dduw :—

"A mi, bei gallwn ymgerydd â Duw,
Yd oedd im y defnydd!"

Ym marwnad tri mab Llywelyn ap Gruffydd, cawn ddihewyd ac edifeirwch Bleddyn Fardd yntau yn ymryson â'i gilydd:—

" Rhy draws fuam oll cyn eu colli,
Rhy drist y'n gwnaeth Crist, croes
oleuni."

Anaml y soniant am freuder einioes, fel y gwnai Llywarch Hen. Hiraeth llosg a gwrthryfel chwerw yn erbyn deddf marwolaeth yw eu teimladau, yn gymysg âg edifeirwch a dihewyd. Cofir am y pennill hwnnw gan Wilym Hiraethog, " Pe bâi wylo dagrau'n tycio," a'r un syniad yng nghelfyddyd ddigymar Tudur Aled—

" Fe a wylid am Felwas
Oni fâi'r glyn yn fôr glas."

Dyma'r un meddwl gan Ddafydd Benfras am Ruffudd ab Ednyfed:—

" Byddai praff heddyw y prynid o'i
fedd
Pe yn fyw y ceffid!"

Wrth alaru am Lywelyn ab Iorwerth, meddai Einion ap Gwalchmai:—

" Ef i mi y meddwl difrad,
Mi iddaw yn llaw, yn llygad."

Cwynai Elidir Sais am Ednyfed Fychan hefyd:—

" Uch ben bedd newydd Ednyfed y
bum,
I'm bu deigr hyd arffed."

" Och Dduw! a ddaw ef etwaeth [eto]
I ostwng treiswyr treiswriaeth?"

Ceir ymostyngiad prudd weithiau, megis ym marwnad Cedifor ap Genillin gan Lywelyn Fardd. Collasai ei holl gyfeillion gynt, a dywed:—

" Fal y deryw [derw?] y derynt,
Fal y derfydd gwydd rhag gwynt."

" Ni'm oes [nid oes i mi] nawdd rhag
cawdd coddiant,
Nid oes neb yn y bu gant."

Rhed tynerwch tebyg trwy farwnadau gan Einion Wan. " Gwyw calon gan hiraeth," meddai, ar ol Madog ap Gruffudd Maelor, ac ym marwnad Llywelyn ab Iorwerth, ceir yr englyn trist hwn:—

" Brenin tir rhywir rhyfedd yd eddyw
[aeth],
Nad eiddaw o Wynedd
Namyn sarn drumain, fain fedd,
Namyn saith drudfaith droedfedd!"

Symlhâi eu hiaith pan ganent yn y cywair hwn, a dont weithiau yn agos at linellau diarhebol beirdd y Cywydd yn y cyfnodau dilynol, megis yn y ddeufraich hyn gan Elidir Sais:—

" Dyn yn fyw ni fedd o'i arfaeth,
Duw a fedd o'i fuddugoliaeth."

Ond prif farwnad y cyfnod yw marwnad Llywelyn ap Gruffudd gan Ruffudd ab yr Ynad Coch. Yn honno y mae'r traddodiad llenyddol yn angof, bron, a lleferydd y bardd yn hyawdl gan alar diobaith. Gwr dihewydus oedd Mab yr Ynad. Awdlau i Dduw yw'r rhan fwyaf o'i waith sydd ar gael. Eto nid allai yntau nad achwynai farw Llywelyn:—

" Ys mai gan ddefnydd ymddifanw â
Duw
A'm edewis hebddaw!'

Egyr y gerdd â llinell a rydd gywair yr holl farwnad—" Oer galon dan fron o fraw." Collwyd y gwr cadarn, cywir, llaryaidd, hael; nid oedd ond anobaith oer yn aros. Mewn llinellau nad oes ynddynt bron ddim lle i ddialedd, gan faint eu galar, edrydd y bardd yr hanes, yr wylo a'r clwyfau, a'r tristwch. " Llawer mab heb dad wedi ei adaw." Mewn tair llinell gwelwn y wlad a anrheithiwyd:—

" Llawer hendref fraith
Gwedi llwybr goddaith,
A llawer diffaith drwy anrhaith draw!"

Yna daw'r darn tymhestlog hwnnw, na chaed yn Gymraeg na chynt nag wedi hynny ddim cwbl debyg iddo:—

" Oerfelawg calon dan fron o fraw,
Rhewydd [nwyd] fal crinwydd y sy'n
crinaw!
Oni welwch hynt y gwynt a'r glaw?
Oni welwch y deri yn ymdaraw?
Oni welwch y môr yn merwinaw'r tir?
Oni welwch y gwir yn ymgyweiriaw?
Oni welwch yr haul yn hwylaw'r
awyr?
Oni welwch y sŷr [sêr] wedi syrthiaw?
Pam na chredwch Dduw, ddyniadon
ynfyd?
Oni welwch y byd wedi bydiaw
[treulio]?
Och! hyd atat, Dduw, na ddaw môr
tros dir,
Pa beth y'n gedir i ohiriaw?

Nid oes le y cyrcher rhag carchar braw,
Nid oes le y triger, Och o'r trigaw!
Nid oes na chyngor, na chlo nag egor,
Unffordd i esgor brwyn-gyngor braw!"

Ni chlywai'r bardd ddim ond adsain tynged yr hen wlad; dyna oedd yn swn y gwynt a'r glaw, yng ngriddfan y derw, yng ngalar y môr yn merwino'r tir; dyna'r gwir oedd i'w weled ymhobman, yng ngoleuni'r haul ei hun; ac yr oedd y sêr wedi syrthio. Onid barn Duw oedd y fath drychineb ac onid ynfyd dynion na chredent? Onid oedd y byd wedi bydio —wedi gorffen ei yrfa? Nid oedd ddianc rhag y braw. Darfu am genedl y Cymry. Yr oedd hyd yn oed "bob mab yn ei grud yn udaw," pob pentref a thref yn chwalu, a phob tylwyth a llwyth yn cwympo am byth. Cymharer y darn uchod â'r marwnadau o'i flaen ac ar ei ol. O ran symledd, prafiter, ac angerdd, ni cheir dim tebyg iddo. A dyma gân olaf cyfnod y Tywysogion, lleferydd uchaf yr hen ryddid gynt, barddoniaeth oreu yr ymladdwyr, cerdd na ddichon yr un Cymro, beth bynnag, fyth ei darllen heb wybod mwy pa beth yw bod yn elyn holl dreiswyr byd tra bo chwythad ynddo.

### (b) Cerddi Dihewyd a Dihareb.

Soniwyd eisoes am y cerddi crefyddol sydd yng ngweithiau tybiedig y Cynfeirdd. Ym mhrydyddiaeth Beirdd y Tywysogion, y mae awdlau i Dduw ac i Fair yn bethau cyffredin. Yn y cerddi hynny y cawn ddiwinyddiaeth ein hynafiaid, eu syniadau am Dduw ac am ddyn, am ddyledswydd a moes, am y byd hwn a'r byd a ddaw; a pha beth oedd eu hofnau a'u gobeithion. I'w deall, rhaid ceisio edrych arnynt trwy eu drychau hwy eu hunain, ac nid fel pe bai eu credo hwy yn wrthun a phob sicrwydd mai nyni yn unig sydd iawn. Catholigion oeddynt, wrth gwrs, neu rywbeth rhwng Catholigion a Phaganiaid. Dylid astudio eu cerddi crefydd yn gyfochrog â'r hen draddodiadau eglwysig, a'r traethodau crefyddol a geir, er enghraifft, yn "Llyfr Ancr Llanddewi Frefi," yn ogystal â chwedlau fel y Mabinogion, lle ceir yn ddiameu weddillion hen grefydd neu grefyddau cynharach na Christionogaeth.

Y Traddodiadau Eglwysig.—Y mae'n dra thebyg mai i gyfnod ysgrifennu'r Llyfr Du a Llyfr Taliesin y perthyn llawer o'r cerddi mynachaidd sydd yn y llyfrau hynny, fel na byddwn ymhell o'n lle wrth eu cynnwys gyda'r adran hon. Ni cheir cymaint o'r traddodiadau yn y Llyfr Du, ond y mae Llyfr Taliesin yn llawn o honynt, neu gyfeiriadau atynt. Yng "Nghanu y Byd Bychan," dywedir mai Ioan, Mathew, Marc, a Luc, sy'n cynnal y byd "trwy rad yr ysbryd." Y mae traddodiadau tebyg yn gorwedd tan "Farwnad y Fil Feib," a "Phlaeu yr Eifft." Yn yr "Awdl Fraith," cerdd ddiweddar a briodolir i Daliesin (gwel, y Myvyrian Archaiology), ceir traddodiadau am greu Adda ar lawr Glyn Ebron. Dywedir fod Adda am bum mil o flynyddoedd "cyn cael anima (enaid)". Wedi creu Efa o'i asen, saith awr y buont "yn cadw'r berllan" cyn eu twyllo gan Satan. Wedi bwyta 'r afal, gyrrwyd hwynt "trwy rynn ac oerfel i'r byd yma." Rhoed iddynt bob un "raw balar i dorri daear i gael bara." Yna cuddiodd Efa 'r ddegfed rhan o'r gwenith a gawsant i'w hau, a thyfodd rhyg du o'r ddaear, "er dangos afrad ar ladrata." Eglurir mai am hynny y rhoed talu degwm i Dduw. Yn "Nifregwawd Taliesin," cerdd ddiweddar arall sydd yn y Myvyrian, rhoddir traddodiadau am fywyd Crist ar y ddaear. Dengys yr iaith mai gwaith mynachaidd diweddar yw'r gerdd, ond diau ei bod yn hŷn nag y gellid tybio wrth ei harddull, am nad ysgrifennai y myneich hyn yn ol yr hen draddodiad llenyddol. Wele enghraifft o'r mesur a'r iaith:—

"Tra fu Emanuel yn dawel yma
Gwnaeth gwyrthiau lawer a gweithredoedd da;
Gwnaeth ar neithiawr Ieuan yn Galilea
O'r dwr y gwin melys pan erchis Maria;
Ef porthes pum-mil a'r pumtorth bara,
Mwy oedd o wargred nag a lewed wrth fwyta;
Cyfodes y forwyn o'r domo clausa,
Cyfodes unmab mam extra porta
Y ar [oddi ar] ei elorwydd o'i orweddfa."

Gwyrthiau'r Saint.—Y mae son am wyrthiau'r Saint yn lluosocach yng

nghywyddau beirdd y cyfnod nesaf, ond ceir cyfeiriadau atynt yng ngwaith beirdd y cyfnod hwn hefyd. Sonia Cynddelw Brydydd Mawr—hen fardd y rhyfeloedd—am wyrth Tysilio:—

"Gwyrth a wnaeth, ni wneir hyd ennyd,
Ni wnaethpwyd erioed er yn oes byd,
Oi adaf [llaw] etewyn tanllyd
Y dyfu [y daeth] a dail ar i hyd.'

Yn awdl Gwynfardd Brycheiniog i Ddewi, sonnir am lawer o wyrthiau'r Sant. Cyfododd y ddaear yn fryn dan ei draed pan bregethai yn Llanddewi Frefi; cyfododd yntau un yn fyw "o'i farw ddeuddydd." Daeth "Ffranc o Ffrainc" ato i geisio ei olwg, a dywed y bardd am hwnnw—

"Pesychwys, tremwys trwy fodd Dewi."

Clywodd "Merch brenin dwyrain" am dano, a daeth i'w weled "wrth glywed däed tynged Ddewi." Danfonwyd iddo o'r nef "Allor deg ni eill dyn ddisgwyl [edrych] arnei." Os doi llynges lladron o'r môr i ddwyn preidd-iau y bobl, collent eu golygon trwy allu Dewi:—

"Ni welant na lliant [y môr] nac eu llongau,
A chyngor a wnant, a chenhadau
I hebrwng iddaw ebrwydd drethau."

Ceir cyfeiriadau tebyg yn y "Canu i Gadfan," gan Lywelyn Fardd. Yr oedd iddo yntau "dair allawr gwyrthfawr," a "bagl ferth" a fedrai rwystro gelyn-ion eu lladd ei gilydd.

Y Bywyd Eglwysig.—Cawn ddigon o brofion o'r swyn oedd ym mywyd taw-el yr Eglwyswyr i'r hen feirdd hyn. Daw i'r golwg yn "Addfwynau Talies-in":—

"Addfwyn clerig Catholig yn egl-wys."

"Addfwyn gair a lefair y Drindawd,
Arall addfwyn, rypenyd pechawd;
Addfwynaf o'r addfwyndawd,
Cerennydd â Dofydd ddyddbrawd."

Ceir yn y Myvyrian gerdd ddyddorol a elwir "Ymatreg Llywelyn a Gwr-nerth," ymddiddan rhwng dau hen sant yn y Trallwng. "A dyfod ynghyd," medd yr hanes, "a wnaethant y teirawr diwethaf o'r nos a'r teirawr cyntaf o'r dydd i ddywedyd eu plygeint ac oriau [gweddïau] y dydd. . . . Sef y gwelai Lywelyn cuddigl [ystafell] Gwrnerth yn gaead. A chan ni wyddiad [na wyddai] pam oedd hynny, sef a wnaeth, canu englyn." Gweler fel y daw dull yr hen brydyddiaeth ddiarhebol i mewn i'r canu:—

"Eiry mynydd, gwynt am berth,
Canys Creawdr nef a'm nerth—
Ai cysgu a wna Gwrnerth?"

Yna etyb Gwrnerth:—

"Eiry mynydd, Duw yn bennaf,
Canys ataw gweddïaf—
Nag e, cysgu ni allaf."

Ac felly bob yn ail bennill. Yn ei dro, gofyn Gwrnerth "ai cysgu y mae Lly-welyn?" Etyb yntau nad ê, ac yna ymddiddanant am y rhinweddau goreu mewn bywyd, bob yn ail bennill. "Goreu y cefais gardod," medd un. "Dywed pa gardod oreu?" ebr y llall. "Goreu yw bwyd rhag newyn," oedd yr ateb, ac yn niffyg hynny, "Dyro ddill-ad rhag noethi." Ni fedrai yr hen sant beidio â meddwl am ei wobr. "Pa dâl yna a gaffwyf?" meddai. "Sef y cei nef ar y ganfed," ebr y llall. "Gan Dduw, pa unpeth gasaf?" oedd yr hawl nesaf, a'r ateb oedd, "Gwaethaf, twyll trwy ymddiried." Mynnai'r sant wybod pa ddial a fyddai am hynny. Atebodd ei gyfaill, mewn pennill y gellid ei gofio heddyw yn arbennig:—

"Os gwnei dwyll trwy ymddiried,
Heb ffydd, heb grefydd, heb gred,
Cei benyd ar dy seithfed."

I ddiweddu, cawn mai drwy gyffes yr enillid nef, ac mai "Diwedd pob peth yw cyffes." Dyddorol hefyd yw "Ym-ddiddan y Saint a Chybi wrth fyned i Ynys Enlli. Mynnai'r Saint wybod, fel y Disgyblion gynt, pwy fyddai fwyaf, ac etyb Cybi:—

"Y mwyaf yn nydd cyfri,
Y mwyaf ei amherchi;
Yr hacraf ei ferthyri,
Tecaf fydd ger bron Celi."

Daeth ofn y môr wedyn ar y Saint, ac wrth eu cysuro, canodd Cybi bennill o'r goreu a ganwyd erioed:—

"Nag ofnwch fôr heli
Mwy no'r fwyalch yng nghelli—
Nid ardd, nid erddir iddi,
Nid llawenach neb no hi."

Yn Awdl Tysilio, rhydd yr hen Gynddelw ddisgrifiadau dyddorol o'r Sant a'i Fynachlog. Dechreua drwy ganmol Duw, yn union fel y canmolai 'r Tywysogion. Pan ddaw at y Sant, y mae beth yn symlach. Edrydd fel yr aeth Tysilio, o'i ddaioni, i "garchar alltudedd," i le anial, ac yno, rhoddi "praw pruddedd" arno ei hun, er mwyn ennill trugaredd. Er mwyn hyn, ymwrthododd â phob da byd ac anrhydedd, "ac er Duw, diofryd gwragedd." Er hynny, bu rhyw "wraig enwawg, anwar i throsedd" yn ei demtio, ond yn ofer. Wedi dyfod trwy 'r praw hwn, cyfododd Tysilio fynachlog, y mae'n debyg, a disgrifia 'r bardd hi:—

"Meifod wen, nid meiwyr [rhyfelwyr] a'i medd,
Nis medd trais, nis traidd ysgeraint [gelynion]."

Yno, caffai teithwyr ymborth a nawdd, lle tawel, heb helynt rhyfel, a golwg hardd ar ei llan rhwng ei nentydd; ei muriau eglur, ei chôr tawel, ei hoffeiriaid a'u hofferen barod. Yno yr oedd y Fagl ag aur yn addurn arni; y llog wrth yr afon, lle cenid pylgeiniau, a chyda'r hwyr, byddai 'r llog yn deg gan oleuni 'r pabwyr. Yno hefyd yr oedd y clâs, a'r cyrn [tyrau] gloewhir heirdd, lle byddai roeso i'r gwylaidd a'r gwan, i'r llaryaidd llawen a'r gwaraidd. Gwr enwir a fyddai'r sawl a ae yn erbyn y lle. Yn sydyn, ynghanol yr heddwch tawel hwn, y goleuni a'r llyfrau a'r canu, cofiodd Cynddelw am y brwydro chwerw a fu rhwng Powys âg Oswallt fab Oswi. Yn yr helynt honno, safodd Tysilio a saint Duw dros y Cymry, ac ar darawiad, y mae Cynddelw yn ei afiaith ar faes y gad, lle 'r oedd cleddyfau yn gochion, dynion yn ochain ac yn meirw, a'r adar rhaib yn gerain uwch ben y celanedd. Trech natur na dysg!

Wedi'r ias ffyrnig hon, try Cynddelw eilwaith i ganmol y Sant yn null tyrfus y cerddi rhyfel, a dywed am yr etewyn tanllyd yn tyfu yn ei law, a dail ar ei hyd. Try wedyn i'w ganmol ei hun fel bardd a wnaeth Duw o aur pur, a daw eto at ochr fwy materol i fywyd Tysilio—ei gyfoeth, ei wleddau, ei fedd, ei ddeiliaid, ei drethau, ei feirdd, ei greiriau, a'i roddion. Daw tawelwch ar ei ysbryd cythryblus drachefn. "Yn y fynachlog hon," meddai, "y carwn innau farw," "Porthwyr Duw, poed hwynt fy ngheraint."

Rhydd awdl Gwynfardd Brycheiniog hefyd oleuni ar y bywyd eglwysig a'i swyn pell a'i draddodiadau lawer, ei symledd a gredai bopeth, ei ffydd ddiderfyn, a'i dawelwch ynghanol bywyd gwyllt yr oesau. Canai Gwynfardd ymhell ar ol oes Dewi, a disgrifiai fywyd ei oes ei hun yn ddiau. Yn nhir Dewi, meddai, nid oedd na gormes na haint, na lledrad gan elynion, ond rhad [gras] a "difefl geraint," a "rhyddid heb ofud, heb ofyn amgen, heb ofal cynnen." Edrydd am Ddewi lawer o bethau a allai fod wedi digwydd yn ei fywyd. Cymerth y Sant, meddai, ddioddefaint [penyd] "ar donn [daear] a charreg." Aeth ar bererindod i Rufain. Daeth rhyw "forwyn ddifwyn," a rhoes iddo "balfawd, dyrnawd tramaint." Dioddefodd yntau y cwbl. Sonnir am "ddial Dyfnaint"—rhyw ruthr o'r môr gan ladron, ond odid—"ac ni las [ni laddwyd], llosged, lluoedd lleseint [ffurf luosog llas]."

Edrydd rinweddau 'r Sant:—

"A garo fal Dewi, dau eiriawg na fid,
Na chared na llid na lleidr difiawg,"

ond cared yn hytrach "efferen lên leuerawg [lawn goleuni]," ac "ymwared âg anghenawg."

"A garo Ddewi, fal difuddiawg [tlawd] doeth,
Ry gelwir ef yn goeth, yn gyfoethawg."

Sonnir hefyd am "ddau ychen Dewi," ar y rhai yr oedd rhinwedd mawr, yn dodi eu gwarrau dan garr Cynawg i hebrwng anrheg i Lasgwm. Dewi oedd nawdd y wlad, ac nid rhaid ofni dim o'r herwydd. Dywed y bardd beth a weldodd pan aeth i gyfoeth Dewi—dim pryder; offeiriaid coeth a llawenydd mawr; yr allor a llen uwch law iddi; gwragedd a rhianedd a garai; clâs ac urddas, dedwyddion doethion. Cai barch yno cyn gofyn dim, a mynnai fod yn un o blant Dewi:—

"A ddigonais [a wneuthum] o gam, gynglwyf difri,
I Dduw a Dewi y diwycwyf;
Canys dichawn Dewi nis dichonwyf,
Gwnaed eirioledd im am a archwyf."

Yna y mae'n enwi llannau a bangorau Dewi, Henfynyw yn eu plith, lle sydd hyd heddyw fel pe bae dan swyn y sant, a'i feillion a'i goed derw eto 'n aros:—

"A Henfynyw deg, o du glennydd Aeron,
Hyfaes meillion, hyfes goedydd."

Gallai Dewi eu hamddiffyn rhag y diffydd a rhag cerydd pechod. Gelwir ef hefyd "Dewi doeth Gymraeg," a mynnai 'r bardd ei ganmol am hynny:—

"I foli Dewi, da Gymraeg eofn,
O fodd bryd a bron, o bryddest chweg."

Cerddodd clod y Sant ymhell. Crynai Groeg ac Iwerddon rhag ei greiriau. Dug rhyw leidr ei wartheg, a daeth rhai i ddial ei gam o Garon, o Dywi, o'r Llyn Du, o Dwrch, ac o Fôn—"Rhys mawr, Môn wledig." Pwy bynnag a gleddid ym mynwent Dewi, nid âi i uffern—

"A el ym meddrawd mynwent Dewi,
Nid â yn uffern, bengwern boeni."

Pan fyddai ryfel yn y wlad, ar Ddewi y galwai pawb. Cawn atgof am hyawdledd y Sant yn pregethu:—

"Pan bregethwys hael bregeth oreu,
Fal corn yd glywid gloew ei eiriau."

Ni wnaeth na drwg na cholled i neb erioed, "namyn o bell dygymell gwell gwirionedd." Galwodd y Saint i Lan Ddewi, a derbyniasant hwythau ef yn bennaeth yno.

Syniadau am Dduw.—Yn adran y marwnadau, danghoswyd fod y beirdd yn fynych yn achwyn ar Dduw am eu profedigaethau; a gwelsom yn "Yrymes Dyddbrawd," cerdd a briodolir i Daliesin, fel yr edrychid ar berthynas Crist â'r rhai na chredasant ynddo. Un i'w ofni a'i ddyhuddo oedd Duw ganddynt yn gyffredin. "Ry prynhom llog i'th dŷ, fab Mair" [Boed i ni brynu lle yn dy dŷ], medd awdur un o'r cerddi yn Llyfr Taliesin; "A goddwy [a ddigio] Crist, na chysged," medd cerdd arall. Daw syniad bargen i mewn yn ddigon aml yn eu cerddi. "Iolaf Dduw i ddifwyn [arbed] ei fâr," meddai Cynddelw. Tebyg y canai Llywarch Brydydd y Moch:—

"Cretych di fi, y Celi celfyddaf,
Cretwyf di, fy rhi, pan fo rheitaf."

Ac fel hyn y dadleuai Einion ap Gwalchmai ei achos â Duw:—

"Dyniaddon defnyddiaist i'th oleu,
Dyniawl ddyn, doniawc, wyf finneu;
Dawn ysym [sydd im] yn iawn yn ddyn ethrylith,
A thrylwyn [parod] bwylladau [meddyliau],
Cyd bwyf drwg, bydd drugar dithau."

Yn ei "Farwysgafn"—cerdd ar wely angau—cân Cynddelw fawl urddasol i Dduw fel creawdr popeth:—

"Cyfarchaf i Dduw, cyfarchwel iawn,
I foli fy Rhi rhwydd, rhadlawn;
Un mab Mair, a bair brynhawn a bore,
Ac aberoedd ffrwythlawn;
A wnaeth goed a maes, a mesur iawn,
A ffrwythau doniau, Duw ry ddigawn;
A wnaeth gwellt a gwydd,
A grug ym mynydd,
A wnaeth dedwydd, er dedfryd iawn,
Ac arall ar wall, ar wellig ddawn,
Yn eisiwedig ac yn ddigllawn."

Y mae ei iaith a'i ddull yn y gerdd hon yn llawer symlach, a chyfyd uwchlaw bargeinio am nefoedd. Eddyf ei feiau ei hun a thrugaredd Dduw. Felly hefyd y gwna Dafydd Benfras:—

"Mawrfryd gan ddyn byd, er bod iddaw dda,
Na mawrair draha, nid rhaid wrthaw;
Mab Duw a'i dyrydd yn eiddaw,
A mab Duw a'i dwg y ganthaw."

Byd a Buchedd.—Soniwyd eisoes am gyfeiriadau rhai o feirdd y Llyfr Du at henaint ac angau. Meddyliau 'r mynach, yn ddiau, sydd yn y dyfyniad isod o'r un Llyfr:—

"Pa roddaisti o'th olud
Cyn pwll mwll mud?

Ni pherchaisti Gwener
O'th fawr eddyllter [aniweirdeb]
Ni cheuntosti [ni chenaist] bader
Na phylgaint na gosper,
Ni pherchaisti greirau
Na llog na llannau."

Yn y pethau diweddar a briodolwyd i Daliesin, megis "Bustl y Beirdd," a'r

"Difregwawd," ceir syniadau tebyg. Cyhuddir y beirdd, yn y gerdd flaenaf, o bob math o bechodau, ac y maent hwythau yn cydnabod y rhan fwyaf o honynt. Yn yr ail, cyhoeddir gwae, nid yn unig ar ddiffyg cred, ond hefyd ar esgeuluso dyledswyddau cyffredin bywyd:—

"Gwae a gymerth fedydd
A chred a chrefydd,
Ac ni sefis yn dda;
Gwae berchennog tir
Ni chynhalio ei wir
Rhag un traha."

Manteisiai yr hen fyneich ar chwedlau a thraddodiadau i gyfleu eu gwersi ar ddyledswyddau buchedd. Yn yr "Englynion Ymddiddan rhwng Arthur a Liwlod, ei nai, wedi ymrithio fel eryr," ceir hawl ac ateb ar y pechodau gwaethaf, Arthur yn gofyn a Liwlod yn ateb. "Pa fath waethaf ar bechawd?" ebr y naill. "Gwaetha bernir anobaith," medd y llall, a dywedir mai cosb anobaith a fyddai—

"Haeddu hir boen uffernol,
A chaffael cwymp anesgorol,
A cholli Duw 'n dragwyddol."

Ceir rhyw ias baganaidd yn hawl Arthur, "Onid cadarn finnau?" Etyb Liwlod, "Nid cadarn neb ond Duw." Ond yn Gymraeg, prin yw'r ddadl rhwng y Pagan a'r Cristion, sydd mor gyffredin yn yr Wyddeleg. Ym "Marwysgafn Feilyr Brydydd," disgrifir breuder y byd a'i bethau:—

"Cefais i liaws awr aur a phali [sidan]
Gan freuawl riau er eu hoffi,
Ac wedi dawn awen amgen ynni,
Amdlawd fy nhafawd ar fy nhewi."

Addefai Cynddelw yntau fel y meithrinodd ei droseddau, ac y mynnodd ddilyn tueddiadau ei ieuenctid:—

"Caredd ym ynni, neud mi ae maeth,
Caru a mynnu fy maboliaeth."

"Dial blas afal blys Efa," meddai, "o bu chwant chwenychu traha, o bu chweg [melys], bu chwerw oddyna." A daw profiad ei henaint mewn llinell nad mynych y ceir ei chystal—

"Canys brau mal gwydr hydr hudoliaeth!"

Yr un ystori sydd gan Feilyr ap Gwalchmai, ac y mae symledd cymharol eu hiaith yn y cerddi hyn yn profi eu bod yn llefaru eu profiad cywir:—

"Melys yw pechawd pan i herlyn digraid [nwydus?],
Mor drwm i'r enaid yn yd edwyn!"

"Gormod yw bychod [ychydig] o bechodau," medd yr un un.

Canodd Elidir Sais amryw awdlau crefyddol. Cawn ganddo lun byw o rwysg y byd a'i brofiad yntau wedi myned ei dymor heibio:—

"Gwelais Lywelyn, luoedd ail Merfyn,
A Chymry terfyn yn eu tyrfa;
Gwelais benaethau Gwynedd a Deheu,
Colofnau cadau, cyd orseddfa;
Gwelais wŷr yn nhrin, a meirch mysterin,
A gwin a gwerin, a gwarwyfa [rhwysg chware];
Gwelais luosydd a chyfedd beunydd,
A byd ar gynnydd, gynnif [cydymdrech?] gwyrda;
Hynny aeth heibiaw, mal ymchwel dylaw [dylaw, dylofi—wrth nyddu]
Mae pawb yn adaw oed di-bara,
Ni chaiff cyfoethawg fod yn hirhoedlawg,
Fwy na chynhwynawg, na chynhenna!"

Marwolaeth a Barn.—Daw tristwch marwolaeth i'r golwg yn y cerddi crefydd yn arbennig, yn llinellau cwta 'r beirdd, ac yn arddull helaethach y cerddi mynachaidd. Wele ddarn o "Gyffes Taliesin," cerdd ddiweddar o'r dosbarth olaf:—

"Pan ddelwyf i borth y fynwent, y bresent [y byd hwn] adawaf,
Ar a welais, a gerais, oll a ddi-garaf;
Fy ngwely a wneir mewn gro, a rhwymo fy nwy adaf [dwylaw],
A chlustog faen dan fy mhen, a thudded pren am danaf;
A'm gado a wna fy ngheraint ym mysg llyffaint i'm bwyta,
A'm ysbeilio o'm da byd, a bwrw gweryd arnaf."

Mynnai Meilyr ei gladdu yn Ynys

Enlli, a rhydd ddisgrifiad tlws o'r ynys unig a'r môr o gwmpas ei mynwent:—

"Ac y sy ddidryf ddidawl i bri,
Ac am i mynwent mynwes heli;
Ynys Fair firain,
Ynys glan y glain,
Gwrthrych dadwyrain, ys cain ynddi."

Gwelsom fel y byddai Cynddelw wrth ei fodd ar faes y gad, gŵr gwyllt ei waed, nad ofnai ddim pan gynhyrfid ef. Eto, deuai ofn angau drosto yntau ar brydiau. Meddai:—

"Ni rygollwyf Dduw, o ddewredd byd,
Ni rygollwys nef ni bo ynfyd."

Ni chollodd neb nef oni byddai ynfyd. Yma y mae Cynddelw yn bwrw'r draul, fel doeth, ond gwybu hefyd ofn angau, ac angau 'r milwr oedd hwnnw. Sylwer ar ei eiriau yma:—

"Cyn oerglawdd anglawdd anghlaear,
Yng ngwasg yng ngwisg derw a gwyar,"

—cyn ei wasgu yng ngwisg y derw a'r gwaed. Ceir yn y Myvyrian "Englyn a gant Cynddelw gwedi anfon mynach o Fyneich Ystrad Marchell i'w wrthod, ac i ddywedyd nas cleddynt yn eu Mynachlog":—

"Can ni bai amod dyfod i'm herbyn,
A Duw gwyn yn gwybod;
Oedd iawnach i fynach fod
I'm gwrthfyn [derbyn] nag i'm gwrthod."

Ni wyddis pa beth oedd y ddadl rhyngddynt, ond yn ei "Farwysgafn," y mae Cynddelw yn gymysg o ofn, edifeirwch, a hyder ynddo 'i hun. Dychrynai pan gofiai am ei bechodau—

"Neum dychryn meddwl a feddyliaf
O bechu a bechwys Addaf."

Yna, doi edifeirwch drosto, oni lefai am ei gadw rhag y cartref truenus, ymhlith y llu du, digymwynas:—

"Na'm gwallaw o'th law, gwallus drefad,
Na'm gollwng gan llu du, di-garad."

Eto, yr oedd yn geiniad, fel y gwyddai Mihangel, ac nid ofer oedd y glod a ganasai i Dduw, y "Gwledig arbennig":—

"Mi Gynddelw, geiniad, rhad a'm rhodded,
Mihangel, a'm gŵyr, a'm gwrthfynned;
Gwledig arbennig, pan genais honawd,
Nid ofer draethawd a rydraethais."

Felly yr ofnai Llywarch Brydydd y Moch farw heb ollyngdod. Er y gwyddai ei fod yn fyw "uch llawr," ni wyddai er hynny ba le y byddai cyn y nos. Gwyddai Duw ei raid, a gweddïai yntau arno heb daw, na byddai farw heb ollyngdod:—

"Gŵyr Rhen a'n rhaid, ryiolawr heb daw,
Rhag yn periglaw heb periglawr."

Du y gwelai Feilyr ap Gwalchmai dynged dyn, y bedd nad oedd fodd ei ochel, a'r "naid" yr oedd dyn ynddi:—

"Ac nid oes gochel gochwerw drwydded,
Gwely anghlaear daear dudded;
Gwae ni o'r naid i'n ryddoded,
Yn nrygnawd pechawd, pall gynired."

Ofnai uffern; "Ysym [y mae i mi] arswyd mawr myned iddi," meddai, a gobeithiai y cai synnwyr gan Dduw i'w hysgoi. "Mechdëyrn caeroedd, na cherydd di fi!" Erfyniai Einion ap Gwalchmai ar i Dduw beri iddo ochel uffern, ac yr oedd yn barod i wneud hynny o iawn a fedrai am ei bechodau, tua diwedd y daith:—

"Boed ef y talwyf, hael rwyf rïau [brenin brenhinoedd]
Ar lan Eurddonen, er i ddoniau,
Gan gur a dolur, ar dâl gliniau,
Gan gymryd penyd pen elinau,
Ym muchedd gorwag, er geiriau maswedd
A ddaeth eithr mesur [dros fesur] ar fy ngenau."
"Na'm gad i gythraul, er dy gethrau [hoelion]!"

Y maent i gyd yn edrych gydag arswyd at ddydd barn, a llawer o honynt yn ei ddisgrifio. Fel y crybwyllwyd eisoes, y maer' Llyfr Du yn sôn am y "Dadwyrain o fedd gwedi hir orwedd," ac yn disgrifio 'r olygfa:—

"Dygetawr [dygir] y trillu
Rhag drych drem Iesu,
Llu gwirin gwirion
Eiliw engylion;
Llu arall, brithion,
Eiliw brodorion;
Trydydd llu difedydd."

Yn "Yrymes Dyddbrawd" ceir disgrifiad manylach o ddigwyddiadau 'r dydd, fel y bydd gwynt a môr a thân, lluched a tharanau, pobl y byd yn griddfan, a chyrn yn canu; fel y tania 'r môr ac y llysg y byd yn farwor, oni bydd wastad fel pan grewyd. Canodd Llywelyn Fardd awdl ar yr "Arwyddion cyn Dydd Brawd." O ddydd i ddydd, dywed fel y cyfyd y môr dros y tir; fel y daw tân trwyddo; fel y bydd y pysgod a'r adar yn meirw; y meini yn hollti, a'r gwellt a'r gwŷdd yn gwaedu; syrth yr eglwysydd, a bydd anifeiliaid gwyllt a gwâr, a phobloedd, yn crwydro lleoedd gwylltion, gan wybod na byddant byw. Y mae llawer o rym yn y gerdd, grym meddwl dyn a gredai 'r pethau a ganai, ac a'u hofnai.

Uffern.—Ceir syniadau a llawer o draddodiadau'r Oesau Canol am Uffern yng ngherddi beirdd y cyfnod hwn. Sonia Cynddelw am y gwres a'r oerfel yno, a disgrifia'r colledigion fel torf ddinawdd yn cwynfan fyth heb orffwys—"torf anghysgod, anghysgaid gwynfan." Cân Dafydd Benfras am orchfygiad uffern gan Grist:—

"Dydd y cymerth Crist grog arnaw,
Yngwaelawd uffern afflau fraw einioes,
Ydd oedd bedeiroes yn ymdaraw;
A llu o bryfed yn eu briwaw,
A llid llid boethfan dân yn eu deifiaw,
A llys, afraid gwrys na gwrysiaw o'i plaid,
A lliaws enaid yn direidiaw."

Eithr gan Ruffudd ab yr Ynad Coch, bardd o dymer grefyddol addfwyn, y mae'r disgrifiad grymusaf o uffern. Dwg llawer o'i eiriau ef a Chasnodyn ar gof i ni ddisgrifiadau Dante, a'r syniadau a geir ym "Mreuddwyd Pawl," a thraethodau cyffelyb. Yn gyffredin, y mae Casnodyn yn gorlwytho ei linellau â chynghanedd, ond weithiau ceir ganddo frawddegau nerthol, megis y rhai hyn, lle y mae'n erfyn ar Dduw ei arbed rhag uffern a'r "tân brwmstan brwd,"

"A'r pydew llenrew llawnrych cyllestrig,
A'r pair gair garwddig, peithfrig poethfrych,
A'r pryfed caled coliawcwrych."

Y mae llai o ymdrech geiriau yng ngherdd Gruffudd ab yr Ynad, a mwy felly o le i feddwl. Dyma ei ddisgrifiad ef o uffern, pan ddisgynnodd Crist iddi:—

"Pan aeth unmab Duw, y dydd goreu,
I ddrws porth uffern, gethern gaethau,
I wân heb annog a'i grog o'i grau [gwaed],
Y sarff aflawen yn ei enau,
Ydd oedd yn berwi, wb o'r barau!
Saith canmil peiraid o enediau,
A glaw, eiry ac ôd, a seirff a llewod,
A phawb heb annod yn ei boenau;
A'r cethri osglawg, a'r cythraul cerniawg,
A'r cyrn llym sodlawg ar ei sodlau;
A'r llygod pengarn a'r gylfinau carn,
A'r llech las haearn, a'r sarn saethau;
A'r ffair yn hirddrwg, a'r ffwrn dywyllwg,
A phawb a'i olwg ar ei balfau;
A phob rhyw hirddrwg, a phob cyfriwg,
A phob eiddiorwg ar hen ddorau;
A phob rhyw ddefawd er doluriaw cnawd,
A phob cigweinawd â'r cigweinau;
A phawb yn ubain, a phawb yn germain,
A phawb yn llefain nas lladd angau."

Soniant lawer am y nefoedd yn eu cerddi, ond nid oes ganddynt gystal syniad am y lle o lawer âg sydd ganddynt am y lle arall. Ar du puraf crefydd, nid ydynt heb deimladau dyrchafedig. Mynnai Cynddelw ganu ei "draethawd bêr i buraw enaid," a theimlai Meilyr ap Gwalchmai fod pechodau dynion yn andwyo'r ddaear—"Diffrwythwyd daear drwy gareddau dyn." Disgrifia Einion ap Gwalchmai ei weddi yn llwybro i'r nef ac yn murmur yno ger bron y drindod:—

"Ar Dduw addef nef, fy llef llwybrawd
Yny [oni] edrino fry rhag y drindawd."

Ac wele ran o'r weddi honno:—

"Peryf [arglwydd] nef, pura fy ngheudawd,
Par im', Dduw, parablu o honawd
Parabl gwir pan draethir draethawd
Pêr, fegis pur felys folawd,
Perygl yw i ddyn ei ddiwyrnawd
Pan fo yng ngharedd buchedd bechawd."

Y dwysaf o honynt yn ei grefydd, fel yn ei alar, ond odid oedd Gruffudd ab yr Ynad Coch. Meddai, wrth sôn am ddioddefaint Crist:—

"Bei meddyliai ddyn ei feddyliaw,
A fu o ddolur ar ei ddwylaw,
Gan gethri parawd
Yn cythruddaw cnawd,
Ef ni wnai bechawd, na'i rybuchaw."

Tebyg hefyd o ran dwyster a meddwl yw gwaith y Brawd Fadawg ap Gwallter. Mewn cerdd hyawdl, yn cyfarch ei enaid, dywed:—

'Tithau, yr enaid, paid, na'm pedych,
Tro o ffordd ddidro hyd tra geffych;
Tyn droed dy feddwl, tra feddych dy bwyll,
O blith maglau twyll, tywyll eu rhych.

"Gwaed Iesu a fu gwaed cu, cwynych,
Gwirdda ystoria, pan ystyrych,
Griddfanna, ocha fal ŷch yn beichiaw
Pan fo yn cwynaw gwae ei gydych."

Yn un o awdlau Casnodyn, ceir cyf eiriad at ddyled Cristnogion i fyned i'r Groesgad. Canodd Gruffudd ap Maredudd awdl hir i'r "Grôg o Gaer," delw o Grist ar y grog. Y mae'r gynghanedd or-gywrain yn beichio ei waith yntau, ond ceir ganddo linellau prydferth ar dro, a ffydd loew sy'n brydferth bob amser. Meddai—

"Delw werthforaf
A glodforaf â glud fawredd,
Delw firain ryw
Er prynu'r byw o'r pren a'r bedd."

Edrydd fod y ddelw wedi ei dwyn dros y môr, ac mai "Elen a'i cafas, alaf ysbrydawl." Byddai'n anodd cael dim tlysach na'i linellau goreu:—

"Dawn a phlaid gweiniaid uch gwynion foroedd,
A ffriwdeg lysoedd ffrydau gleision."

Canodd, hefyd, awdl i Fair, sy'n cynnwys llawer o linellau prydferth iawn, er enghraifft:—

"Seren yw hi,
Nod goleuni, nid gelynawl;
Lloer engylion
A gweryddon, aig wareddawl;
Mam tangnefedd
A thrugaredd, iaith ragorawl;
Teml i'r mab rhad,
Neuadd gariad nawdd ag eiriawl."

Arbenigrwydd ar farddoniaeth y Cynfeirdd a Beirdd y Tywysogion yw natur ddiarhebol llawed o honi. Ceir penillion felly yn y Llyfr Du, a phriodolwyd i Daliesin a Llywarch Hen lawer o'r cerddi dihareb. Ceir yn Llyfr Taliesin bennill yn disgrifio peth ofer, fe allai, fel "ceisiaw bydeid yngrug," "Mal gryniaw tyndir o ro," "mal haeddu awyr â bach," "mal gwneuthur goleu i ddall," &c. Y mae'r pethau a briodolir i Lywarch Hen yn fwy diarhebol fyth. Dull rhyfedd o ganu yw. Dechreuir y pennill â rhyw ymadrodd neu air sydd bellach yn ddiystyr, a gorffennir gyda dihareb. Gellid eu dosbarthu wrth y gair fo'n dechreu'r pennill, megys—

"Gorwyn blaen derw, chwerw brig onn,
Chweg efwr, chwerthiniad ton—
Ni chel grudd gystudd calon."

Ceir rhes hir o benillion yn dechreu yr un fath, ac yn gorffen yn debyg. Dechreua tribannau ereill â'r gair "Calan gaeaf," a dwy linell ddiarhebol yn gyffredin yn canlyn:—

"Calan gaeaf, crwm blaen gwrysg,
Gnawd o ben diriaid derfysg,
Lle ni bo dawn, ni bydd dysg."

Ymhlith y geiriau cychwyn ereill, ceir "Bid," "Gnawd," "Marchwiail," "Eiry mynydd," "Cain Cynwyre," "Glaw allan," "Otid eiry," "A glywaist ti a gant." Gelwir yr englynion sy'n dechreu â'r geiriau olaf yn "Englynion y Clywed," a chynhwysant lawer o ffilosoffi ragorol. Rhydd y llinell gyntaf enw'r gwr doeth yn gyffredin, yr ail ddisgrifiad o hono, a'r drydedd ei ddywediad. Er engrhaifft:—

"A glywaist ti a gant Bedwini,
Oedd esgawb doniawg, difri—
Rhagreithia dy air cyn no'i ddodi."

"A glywaist ti a gant Llenlliawg,
Gwyddel urddawl, eur dorchawg—
Gwell bedd no buchedd anghenawg."

Diau fod llawer o'r pethau hyn yn bethau diweddar, ond saerniwyd hwynt ar ddelw pethau cynnar. Y mae'r un peth yn wir am "Englynion y misoedd," a briodolir i Aneurin, ond y sydd yn ddiameu yn perthyn i oes lawer iawn diweddarach. Pa beth bynnag a fydd y ddedfryd derfynol ar oes y cerddi dihareb, y maent yn cynnwys pethau y sydd, yn eu ffordd, cystal a dim yn llenyddiaeth y Cymry—doethineb anghyffredin, mewn geiriau byrion, cynhwysfawr, goleuni ar arferion a chymeriadau; a gallu llenyddol nid bychan.

### (c) Barddoniaeth Natur.

Prin yw barddoniaeth natur yng ngwaith Beirdd y Tywysogion. Canent, gan mwyaf, fel y dywedwyd, i faes y lladd, ac i foes y llys. Eto, nid ydynt heb weled tlysineb a mawredd yn natur, ac efallai mai eu perthynas â'r teuluoedd tywysogaidd a barodd gadw ychwaneg o'u cerddi rhyfel nag o'u caneuon ereill. Y mae, pa fodd bynnag, yn beth nodedig na ddatblygodd barddoniaeth natur ond ychydig iawn yn y cyfnod yr ydym yn sôn am dano. Ceir ei dechreuad yng 'Ngorhoffedd' Gwalchmai a 'Gorhoffedd' Hywel ab Owain Gwynedd, eithr yn ofer y chwilir am ei thwf yng ngweithiau beirdd ereill, hyd nes down at ddiwedd y cyfnod. Ceir lluniau bychain byw, mewn brawddeg neu linell, gan lawer o honynt, y mae'n wir, ond Gwalchmai a Hywel yn unig a ddisgrifiodd olygfa gyda dim tebyg i fanyldeb. Pan ganai ei 'Farwysgafn,' daeth harddwch Ynys Enlli i gof Meilyr, ei "llog" a'i hafon, ei meudwyaeth a'i mynwent ym mynwes y môr—

"Ac y sy ddidryf ddidawl i bri,
Ac am i mynwent mynwes heli;
Ynys Fair firain,
Ynys glân y glain [y glanaf o'r glain.]
Gwrthrych dadwyrain [atgyfodiad],
Ys cain ynddi."

Dyna'r unig beth a ddengys bod Meilyr yn gweled natur yn hardd. Cawn lawer mwy gan ei fab, Gwalchmai. Canodd ef ei "Orhoffedd" pan oedd dan arfau yn gwylio'r terfynau yn rhywle yn sir Drefaldwyn, neu sir Amwythig. Buasai'n gwylio drwy'r nos, a gwelodd y wawr gynnar yn torri ar fore hafaidd; clywodd yr adar yn canu; canfu fwrlwm rhydau Breiddin; sylwodd lased oedd gwellt y fan anghyfannedd, a gloewed oedd y dwfr; clybu'r eos yn murmur ei chân; craffodd ar y gwylain yn chware ar y dwfr gan rydwst, a'u pluf yn disgleirio. Dyma fel y disgrifiodd yr olygfa:—

"Mochddwyreawg huan, haf dyffestin;
Maws llafar adar, mygr hyar hin;
Mi ydwyf eurddeddf, diofn yn nhrin,
Mi ydwyf llew rhag llu, lluch fy ngorddin [a'm rhuthr fel mellten]
Gorwyliais i nos yn achadw ffin
Gorloes rydau dyfr Dygen Freiddin;
Gorlas gwellt didryf, dwfr neud iesin;
Goddyar eaws awdl gynefin;
Gwylain yn gware ar wely lliant,
Lleithron eu pluawr, pleidiau edrin."

Yna, cofiodd am ryw ferch a garai, oedd ymhell oddiwrtho, ac oddi yno i'r diwedd, canodd am ei wrhydri ei hun, ei gariad at y ferch, a thlysineb natur. Gwaetha'r modd, amherffaith yw'r testun, ond gellir deall fod yn hyfryd gan Walchmai liwiau'r blodau a chân yr adar, gwyn yr eira, a gwyrdd y môr. Yn gymysg â sôn am ryfel a thywallt gwaed, cân am yr afallennau a welodd yn orwyn dan eu blodau yn 'nhir tu Efyrnwy;' am y don ewynnog wrth Borth Wygyr, a'r don werdd wrth Aberffraw ac Aber Dau. Addfwyn oedd ganddo'r gwanwyn a'r haf araf, hyfryd, ar lannau Ogfanw a Chegin a Chlywedog; gwylio'r llanw o Abermenai, a'r 'gwenyg gwyn' yn chware ar odre Pen y Gogarth. Gwelai ei gariad fel "lliw eiry ar goed," ac fel "balchliw arien [gwlith]." Carai yr eos dawel ei golwg a'i cadwai yn effro'r bore—

"Carafi eos Fai, fore hun ludd,
A golygon hwyr, hirwyn ei grudd."

Daw at gân yr adar eilwaith a thrachefn. "Endewais i eaws a'm rhy hiraeth er gwyl," meddai, ac ymhellach ymlaen—

"Caraf yr ednan a'i llarian llais,
Cathl foddawg coed, cadr ei ethais."

Sonia fwy nag unwaith hefyd am laswellt y lle anghyfannedd.

Cawn yr un hoffter at natur yn awdlau Hywel ab Owain Gwynedd. Yn ei gerddi serch, daw cariad at fôr a mynydd i'r golwg, mewn brawddegau fel "lliw ton dylan," neu "harddliw gwaneg," ac mewn llinellau ysblennydd megis "Lliw eiry llathr oerfel ar uchel fann," neu "Ei lliw oedd debyg gwenyg gwynlas." Disgrifia'r "gaer falchwaith o'r Gyfylchi," lle'r oedd un a garai yn byw, a llafar lefau yr anwar don i'w clywed yno—

"Caraf gaer falchwaith o'r Gyfylchi,
Yn y bylch a balchlun fy hun ynddi;
Enwawg, drafferthawg a draidd iddi,
Anwar don lafar lefawr wrthi."

Yn rhai o'r awdlau ereill cawn ei ffansi mewn brawddegau tlysion, yn cymharu gwallt un ferch i "felyn eithin," ac wyneb un arall i flodau afalau. Ond yn ei foliant i Gymru yn y "Gorhoffedd" y ceir llinellau goreu Hywel:—

"Caraf ei morfa a'i mynyddedd,
A'i chaer ger ei choed, a'i chain diredd,
A'i dolydd a'i dwfr a'i dyffrynnedd,
A'i gwylain gwynion, a'i gwymp wragedd;
Caraf ei milwyr a'i meirch hywedd,
A'i choed a'i chedyrn a'i chyfannedd;
Caraf y meusydd a'u mân feillion arnaw [ar Faw—afon Maw?]
Man yd gafas ffaw [y cafodd clod] ffyrf orfoledd;
Caraf ei brooedd, braint hywredd [dewrder],
A'i diffaith mawrfaith, a'i marannedd [llawnder?]
Gorpwyf [enillwyf] ollyngdod o alltudedd,
Ni ddaliaf, diau, oni ddel i'm plaid,
Breuddwyd a'i dywaid, a Duw a'i medd.
Caraf y morfa ym Meirionnydd,
Man i'm bu fraich wen yn obennydd;
Caraf yr eaws ar wyraws wydd [coed yswydd]
Yng nghymer deuddwfr Dyffryn Iolydd."

Y mae yn y gerdd hon beth sy'n brin yng ngwaith y beirdd Cymreig yn y cyfnod hwn, sef cariad at ddaear gwlad. Dywed yr hanes mai Gwyddeles, a'i henw Pyfog, oedd mam Hywel, a threuliodd yntau beth o'i ieuenctid yn Iwerddon. Pa un bynnag a oedd a wnelo hynny rywbeth â'i ddawn a'i ddysg ai peidio, y mae ei waith, yn enwedig y darnau a ddyfynnwyd ddiweddaf, yn llawer tebycach i brydyddiaeth y Gwyddyl nag i waith y beirdd Cymreig yn gyffredin. O ran ei serch at ddaear ei wlad, a'i hiraeth am dani, saif ar ei ben ei hun. Yn ei arddull, y mae yn gyffredin yn symlach a llyfnach na'i gyd-oeswyr, ac y mae rhyw ysblander newydd yn sain a synnwyr llawer o'i linellau, megis, er enghraifft, ei ddisgrifiad o'r môr a'r mynydd, yr "anwar don" a'r "diffaith mawrfaith."

Ond yn yr hyn a ddaeth i'n meddiant ni o waith Beirdd y Tywysogion, ni bu dwf ar farddoniaeth natur Gwalchmai a Hywel, er y ceir yng ngherddi ereill, fel y dywedwyd, lawer llun tlws a byw mewn brawddeg a llinell. Daliodd Cynddelw Brydydd Mawr harddwch y wawr ar y môr mewn llinell ddigymar, pan ganodd fod meddwl am Efa ferch Madog yn ei ganlyn yn ei fywyd tymhestlog, fel

"Gorne gwawr fore ar fôr diffaith."

Cyffelyba bryd Efa i don a friwier gan y gwynt, i'r ewyn briw ar frig y nawfed ton, ac i'r wawr ar eira gorwyn llethrau Epynt.

Sonia mewn awdl arall am Fadog ap Maredudd fel "cadarn angor dyfnfor diffaith," a thrachefn am ruthr Owain ap Madog fel "bâr dyfnfor dyfnfaith." A thrwy ei gerddi, yn wir, gwylltineb natur a rydd i Gynddelw ei gymhariaethau. Cyffelybai ruthr ei arwyr yn y gad i rediad croch y llanw, weithiau gyda manylder yn y llun, bryd arall yn foelach. Hoffai ryfel yn natur—ymdrech y môr a'r traeth, brwydr y llanw a'r afon, helynt y gwynt a'r don. "Twrf ton ffraeth am draeth, am draed gwylan," meddai, lle y mae'r sôn am yr wylan yn gorffen y llun. Moelach yw "Gorun [swn?] torf, twrf aches [llanw] ar draeth," ond y mae'r ansoddair yn arbenigo'r gyffelybiaeth hon—"rhwysg morgymlawdd gwyrdd;" ac anodd fyddai gael llinell amgenach na honno sy'n disgrifio ymgyrch Llywelyn ab Iorwerth "Mal ton trais trystlon tros traeth." Mynych y cyffelybir y gad i gyfarfod môr ac afon—"Fal twrf ebyr yn llyr llawn;" "Drud rwyf [brenin]

torf, twrf llanw yn aber;" ond sylwer ar fanyldeb y gymhariaeth sy'n canlyn:—

"Lliw goleu tonnau taenferw gwenig
Llanw ebyr ar llyr lle ni mawrdrig."

Cyffelybir y rhuthrau hefyd i "wynt hydref," "hynt gwynt gwrth donyar," a "rhuthr toredwynt gwrdd." Peth arall y mae'n hoff gan Gynddelw gymharu brwydrau ei wroniaid âg ef yw'r oddaith. Sylwer ar yr un ansoddair, yn disgrifio swn yr oddaith, yn y llinellau a ganlyn:—

"Twrf taerfaith goddaith gwaeanwyn."
"Twrf taerdraul taerdan yn gwân gwynawn [coed crin]
"Aerdorf, torf twrf goddaith wrth gawn."

Unwaith, daw a chymhariaeth y tân a'r dwfr yn gymysg:—

"Hwyl taerdan tra wân [tra gwân] trwy wyal [gwiail],
Hwrdd aflwfr, mal hirddwfr hoewal [dwfr chwyrn?]

Anaml y ceir ganddo lun cyn llawned â hwn, lle y mae'n disgrifio brwydrau Hywel ab Owain Gwynedd:—

"Twrf ton, torchawg hael, trwm oedd i glywed,
Twr Cynfael yn cwyddaw [cwympo];
A fflamau o drum yn edrinaw [swnio],
Ac angerdd ac ongyr [gwaewffon] yn llaw."

Cofir bod Hywel yn rhyfelwr medrus. Dywed y Brutiau am dano yn gwneuthur peiriannau a fwriai gerrig mawrion ac "a dorrai muriau mewn modd rhyfeddawl." Felly, ond odid, y gwelodd Cynddelw ef yn torri castell Cynfael.

Un cyfeiriad neu ddau at natur sydd gan Owain Cyfeiliog, yng ngherdd yr "Hirlas," a'r rhai hynny mewn llinellau ardderchog. Pan ddychwelai ei wyr wedi brwydr, "Oedd lawn o haul hirfryn a phant," meddai. Disgrifia ruthr rhai o'i gyfeillion fel "toredwynt uch teg adfan [lle uchel?]," a thrachefn fel

"Gorun [swn?] gwynt gwaeddfan uch glan glasfyr,
Gorddwy [gwylltineb] clau tonnau Talgarth ystyr [enwog?]."

Ceir rhai o gyffelybiaethau Cynddelw gan Ddaniel ap Llosgwrn Mew, megis "greddf angor dyfnfor diffaith," ond ei alar am Owain Gwynedd a debygodd ef i oddaith, a hynny mewn llinellau rhagorol:—

"Am reddf angor dyfnfor diffaith
Yd lysg fy nghalon, yng nghof maith,
Mal y llysg gwynnawn gan oddaith."

Cawn y cyffelybiaethau hyn a'u tebyg yn gyson gan y beirdd, ac weithiau fwy o arbenigrwydd arnynt. Cymharai Prydydd y Moch lwybr Dafydd ap Owain i "hynt mawrwynt meiriol," ac am ruthr Gruffudd ap Llywelyn, dywed,

'Ys cynt na rhywynt uch rhudd wybren"—

y gwynt gwyllt, a fydd weithiau pan fo'r wybren yn goch. At y gwynt a'r môr y mae'r cwbl, bron, o'i gyfeiriadau yntau. Cyffelyba wynder dwylaw merch i "liw gwynblyg gwenyg," a'i glendid i "Leufer, eiry, didraul, neu haul yn haf." Sonia Dafydd Benfras am "blyg gwenyg gwynion," ac am "gyfranc [ymdrech] môr a mawr afon." Cyfeiria Einion ap Gwgawn deirgwaith neu bedair at y môr, a daw'r oddaith a'r gwynt a'r môr i mewn i linellau Llygad Gwr:—

"Rhwysg goddaith pan lwyrwaith losgo."

"Twrf toredwynt mawr uch môr diffaith."

"Rhwysg mawrdon wrth garreg," yw un cyfeiriad Einion Wann at Natur. Dengys Einion ap Gwalchmai beth o ddawn ei dad, yn ei farwnad i Nest ferch Hywel. Dechreua gyda disgrifiad o'r haf:—

"Amser Mai, maith dydd, neud rhydd rhoddi,
Neud coed nad ceithiw [caeth], ceinlliw celli;
Neud llafar adar, neud gwar gweilgi,
Neud gwaethreg [nid gwaeddgreg?] gwaneg, gwynt yn edwi."
Yna, daw'r don â newydd drwg iddo,
"Hallt oedd ei dagrau, digrawn heli."

Ond adlais Owain Cyfeiliog sydd yn ei un gyffelybiaeth arall â natur—"Twrf toredwynt mawr uch môr diffaith." Dechreuodd Bleddyn Fardd ei farwnad

i feibion Gruffudd ap Llywelyn â darluniad o'r gaeaf:—

> " Neud amser gaeaf gwelwaf gweilgi,
> Gweilging [clwyd?] môr adar, hwylfar heli;
> Neud arllen arien Eryri weithion,
> Neud uchel gwendon gwyndir Enlli."

Sylwodd Iorwerth Fychan ar liw dwfr y môr yn aberoedd morfa, dan oleu haul disglair, a sonia am wynder grisial y creigiau, ewyn ar ryd, blodau afalau, gwlith dan haul y bore (" Gwynlliw arien briw brig huenydd "). Ewyn y môr yw hoff gymhariaeth Casnodyn. Ceir " terfysg taerfor gweilgi gann," a " thwrw toredwynt " hefyd gan Ruffudd ap Maredudd ap Dafydd, ond gydag ef, yr ydym yn dynesu at gyfnod newydd. Hyd yma, at wylltineb natur y mae torreth y cyfeiriadau. Dengys y rhes isod o gyffelybiaethau Gruffudd ap Maredudd, wrth ganu i dlysni merch, fod rhyw draddodiad newydd wedi dechreu dyfod i mewn:—" Gwar ddeurudd hoen gwawr ddwyre;" " Hoen geirw [rhaeadrau] creignaint glwys;" " Lliw eiry gymryd [yr un bryd];" " Lliw nif [eira] gorthir;" " Balchliw ewyn glasddwfr rhyn rhyd;" "Lliw berw basryd;" " hoen blaen gwelwgaen [ton welw], gweilging saffir;" " Hoen gwendon lon, don [doredig] am dir;" " Hoen blaen gorlliw gwelwgaen;" " Pryd eiry celli." Dengys y dadansoddiad isod o gyffelybiaethau natur y beirdd a enwir yr un peth:—

Gruffudd ap Maredudd:—" Lliw geirw rhyd;" " Hoen gem gyfwlch [wedi ei llyfnhau]:" " Teg oroen [gor-hoen] ton am rwyf;" " hoewliw manod Ionawr;" " Hoen ton ogledd;" " Hoen ewyn llyn llif;" " Hoen geirw mân."

Awdlau dienw, yn tebygu i waith Gruffydd ap Maredudd:—" Hebogaidd lygaid euraid araf;" " gne [lliw] rhyn eirw;" " Hoen eglurfan cann cyn-eiry gaeaf;" " Prif degwch dilwch eiry dolydd cyn glaw." Priodolir yr awdl sy'n cynnwys y llinell olaf hefyd i Sefnyn.

Gruffudd ap Dafydd ap Tudur:— " Eiliw gwendon moreb [glan môr];" " Hoen gwaeddgreg waneg;" " Lliw ton ertrai;" " Lliw ton wrth rwyf;" " Cyfliw ertrai ton."

Goronwy Ddu:—" Gwawn wedd;" " Gwawr loew iesin;" " Arien deced;" " Gne berw toniar [tonnau'r môr]."

Mab Clochyddyn:—" Deune haul;" " Lliw gwiw gwymp o gyfnod manod mynydd;" " Gwedd gwen wawr fawr fore hafddydd;" " Lliw lloer pan ddwyre bre a broydd."

Hywel ab Einion Llygliw:—" Hoen blodau sirian;" " Lliw eiry cynnar pen Aran;" " Hoen blaen eiry gaen gawad;" " Lliw ton hwyliad welw;" " Hoen blodau blawd ysbaddad [draenen wen]."

Gwahaniaetha'r cyffelybiaethau hyn oddi wrth rai beirdd cynharach am fod a wnelont fwy â thlysineb natur nag â'i gwylltineb. Dengys rhai o honynt hefyd fanyldeb newydd, megis " geirw creignaint glwys "—mân gwympau prydferth nentydd caregog; " ewyn glasddwfr rhyn rhyd "—yr ewyn ar lasddwfr oer y rhyd; " hoen blaen eiry gaen gawad "—gwynder eira newydd ddisgyn, lle bo gyferbyniad rhwng blaen y gawod a lliwiau ereill. Gwelwn hefyd bod geiriau Dafydd ap Gwilym a'i ganlynwyr yn dechreu dyfod i mewn, a bod miwsig sain yn canlyn blodeuad cyntaf y ffansi newydd.

### (d) Rhieingerddi.

Y mae'r un peth yn wir hyd gryn fesur am gerddi serch Beirdd y Tywysogion âg am eu barddoniaeth natur—prin ac achlysurol ydyw yn bennaf. Diarhebol ac anealladwy yw Awdl Gwalchmai i Efa ei wraig. Ni cheir ynddi nemor leferydd serch na rhoi gwerth ar harddwch benyw, ond yn hytrach syniad yr oesau cynt am ei diffyg synnwyr—

> " Gnawd gwraig gwell genthi
> A fo gwaeth iddi."

Eto, yn ei ' Orhoffedd,' hiraethai Gwalchmai am y gwanwyn pryd y carai'r ferch fain oedd bell oddiwrtho. Gwrandawsai uwchben ei win ar ei " lleferydd gwâr," a chas ganddo nad oedd gyda hi. Ymffrostiai fel yr oedd rhianedd Gwent yn meddwl am dano, er nas gwelsant erioed, ond hyd yn oed yn y gad, er bodd Llywy y tywalltai ef waed, meddai:—

> " Ac er bodd Llywy, lliw eiry ar goed,
> Pan fu aer rhag caer, cyforiais waed."

Ymddengys fod y côf am y ferch hon yn ei ymlid drwy ei frwydrau. Tebyg

mai hi a wisgai'r "gweilging porffor" a grybwyllir yn un o'r llinellau anghyflawn, ac mai hi oedd y "fun falchliw arien" y breuddwydiai am dani.

Yn ei "Rieingerdd Efa ferch Madawg," dengys Cynddew gryn lawer o'r ansoddau a ddaeth yn gyffredin ym marddoniaeth serch cyfnod diweddarach. Y mae ei gyffelybiaethau yn dlysion a manwl—

"Cymrawd ewyn dwfr a'i dyfriw
gwynt,
Cymräeg laesdeg o lys dyffrynt;
Cyfleuer [unlliw â] gwawr dydd pan
dwyre hynt,
Cyfliw eiry gorwyn gorwydd Epynt."

Geilw Efa hefyd yn "lliw ton am rwyf"—brawddeg a fenthyciodd ereill —"lliw ewynfriw teg rhag ton nawfed," a "lliw amaerwy ton." Cawn yn y gerdd osgo gyffredin carwr cyfnod y Cywyddau—fod y ferch yn galed a difofal; ac yntau yn colli ei nwyf a'i gwsg o'r herwydd—"Collais gall ateb i neb, a'm nwyf;" ond yn hytrach nag achwyn ei fod ar dorri ei galon, ei ganmol ei hun a wna Cynddelw. Pan aeth i Bowys, meddai, yr oedd y merched yn ei wylio drwy'r ffenestri, ac yn pryderu am dano:—

"Trwy ffenestri gwydr yd y'm gwel-
ynt,
Trybelid wylain a wylynt arnaf,
Traul ateb ataf a ddanfonynt;
Amgall o bwyllad [meddwl] a bell
bwyllynt,
Am Gynddelw brydydd yd bryderynt."

Wedi dangos ei werth iddi, erfynia am amnaid fwyn yn wobr, ac yr ydys yn teimlo ei fod yn meddwl yr hyn a ddywed:—

"Cadr [teg] amnaid, gannáid ged
[gwobr,] a'th iolwyf;
Can ni wnei erof, er a ganwyf,
Na wna fi, feinwen, fal na hunwyf,
Ni'th wnaf erniwed er na'th gaffwyf."

"Ni'm dawr, ferch pennaeth, pryd
na'th welwyf—
Nid er ceisiaw tâl tros a ganwyf."

"Nawfed ran o'm poen, er pan aned,
Nis rhyborthes neb, na thebyced;
Ni rifaf ar fun fod yn galed—
Nid clod fy ngwrthod, wrth fy näed."

Disgrifia harddwch ei gwedd a'i gwisg gyda llawer o fedr a lliw, ac y mae yn ei linellau goreu brydferthwch meddwl ac ymadrodd na cheir yn aml ei gyfartal yn y cerddi serch:—

"Gwirion deg, dawel ei chyfariaith
[lleferydd?]
Gwan ddeddf ddof i'm cof i'm canym-
daith,
Gwery [gwyryf] fanon fanwl, gwâr
feddwl faith,
Gorne [lliw] gwawr fore ar fôr di-
ffaith."[2]

Y mae ar gael un awdl fer arall gan Gynddelw i ferch, lle y cyffelyba ei thegwch i "liw goleu tonnau taenferw gwenyg," ac y dywed ei fod o'i phlegid "yn celu calon ysig." Crybwyllir "Eiddig" hefyd yn yr awdl hon, y cyfeiriad cynharaf, hyd y sylwais, at gyff gwawd Dafydd ap Gwilym a beirdd y cyfnod nesaf.

Cerddi serch yn bennaf yw chwech o'r wyth awdl o waith Hywel ab Owain Gwynedd sydd ar gael, ac mewn pump o honynt, down gam eto yn nes at gyfnod Dafydd ap Gwilym, er fod yn debyg nad oedd y canu eto wedi dyfod yn ffasiwn ychwaith. Yn yr awdl flaenaf, disgrifia Hywel y gaer ar lan y môr, lle 'r oedd ei gariad yn trigo ac o'r lle yr hoffai hi wylio'r gwylain. Hiraetha am fyned yno i'w gweled a chlywed ei "chwerthin egwan," ac i adrodd y cariad a ddaeth i'w ran. Digiwyd ef yn y llys am na chai hi, ac aeth yntau cyn druaned ei gyflwr â Garwy Hir oblegid ei serch at Greirwy—cyfeiriad at y rhamantau. Yn yr ail awdl, disgrifir yr un gaer, ond odid, a gelwir y ferch yn honno yn "wraig." "Pe ceid y budd er barddoni," meddai, "ni bai noswaith na byddwn nesaf iddi." Hiraeth am ryw ferch absennol a geir hefyd yn y drydedd awdl, ond tebyga 'r syniadau fwy i draddodiad y cyfnod nesaf. Mynnai 'r bardd ei chyfarfod unwaith cyn ei farw; poenai erddi, er ei fod ef "genthi yn gas," a gwell fuasai ganddo fod wedi ei ladd na goddef ei drueni— "Cyn addef goddef, gwae fi na'm llas." Yn y bedwaredd awdl, rhydd Hywel ddisgrifiad tlws o'r ferch a garai, yn ei gwisg werdd ("llen lliw ehöeg") a chyda'i meddwl mwyn ("gweddaidd ofeg"), a'i "choeth Gymraeg"—camp

a ganmolodd Cynddelw hefyd ar ferch Madog:—

" Fy newis riain firain, feindeg,
Hirwen yn ei llen, lliw ehöeg;
A'm dewis synnwyr, syniaw ar wreig-
aidd,
Ban ddywaid o fraidd weddaidd ofeg;
A'm dewis gydran gyhydreg [cyfarfod]
â hun,
A bod yn gyfrin a'm rhin a'm rheg
[peth gwerthfawr]:
Dewis yw gennyf, harddliw gwaneg,
Y doeth [a ddaeth] i'th gyfoeth [gwlad]
dy goeth Gymräeg;
Dewis gennyf di, beth yw gennyt fi?
Beth a dewi di, deg ei gosteg?
Dewisais fun fal nad atreg [oedi]
gennyf,
Iawn yw dewisaw dewisddyn deg."

Prydferth hefyd yw ei ddisgrifiad yn yr awdl olaf o'r fenyw eiddil, luniaidd yr hiraethai am dani pan ddaeth yr haf a'r blodau ar y coed afalau—

" Wrth gamu brwynen, braidd na
ddigwydd,
Fechanigen wen, wan ei gogwydd;
Bychan y mae hŷn no dyn deng-
mlwydd,
Mabinaidd, luniaidd, lawn gwedd-
eiddrwydd."

Yn ei "Orhoffedd," cofia am y "morfa ym Meirionnydd, man i'm bu fraich wen yn obennydd," ac yna enwa ei gariadau y naill ar ol y llall, "Gwenlliant lliw hafin;" "Gweirfyl deg, fy rheg, fy rhin;" "Gwladus weddus wyl," a'i gwallt fel "melyn eithin;" "Lleucu glaer," a'i chwerthin llawen; "Nest deg, debyg afallflawd [blodau afalau]," ac ereill. Gwelwn yma eto beth o ddechreuad y traddodiad newydd, ond y mae arbenigrwydd ar waith Hywel ymhlith cerddi ei gyd-oeswyr—y mae 'r arddull yn symlach a mwy telynegol, y meddwl a'r disgrifiad yn llawnach; ac y mae'r cerddi byrraf yn cynnwys rhyw un syniad wedi ei weithio allan yn berffeithiach, nes rhoddi mwy o undod i'r gerdd.

Y mae cryn debygrwydd rhwng cerdd Prydydd y Moch i "Wenlliant deg ferch Hywel" â gwaith Cynddelw. Canmola ef ei hun am ei ddewrder fel rhyfelwr, a dywed bod ei galon yn llosgi fel tân o gariad at Wenllian—

" Am hyn, gwâr forwyn, liw gwawr
fore,
Clywaf fy nghalon, ton fal tandde
[gwres],
Yn llosgi erddi, ar ddeddf cynne."

Tebyg i'r Rhieingerddi hefyd yw Marwnad Nest ferch Hywel gan Einion ap Gwalchmai. Cân am lendid ei phryd a'i bryd mewn dull a ddengys mai tirionwch meddwl, a chorff gosgeiddig, main, oedd addurn merch bellach. Crybwylla ei deall a'i ffyddlondeb, ei dawn a'i daioni, ac nad oedd boen waeth na'i hiraeth ar ei hol:—

" Nid ymglyw dyn byw o'r byd fal
mi."
" Ni bu dyn mor gu gennyf â hi,
Ni bo boen oddef, Pedr i'w noddi."

Canodd Iorwerth Fychan gerdd serch gymysg o arddull eiriog yr awdlau mawl a'r gwaith craffach y daw mwy o sylwi ar natur i mewn iddo. Ceir ganddo rai llinellau cystal a dim sydd ym marddoniaeth serch y cyfnod, megis y rhai hyn, yn cymharu glendid merch i liw'r haul ar fôr a mynydd:—

" Hwyl orne haul fre ar fröydd
glasfor,
Pan fydd gloew goror gorwymp
lethrydd;"

neu ynteu 'r rhai isod, yn manylu ar lewych haul ar ddwfr môr ac aber ar forfa:—

" Lleufer ebyr myr morfëydd dylan,
Pan llewych huan ar fan fynydd."

Cwyna yntau greuloned ei gariad, ac y mae ganddo lawer cyffelybiaeth dlos. Tebyg yw Awdl Casnodyn i Wenlliant ferch Cynan, lle gwelwn ddylanwad Cynddelw a Hywel ab Owain yn y geiriau "Main firain riain, gain Gymräeg." Y mae manyldeb hefyd ar ei gyfeiriadau yntau at y môr—

" Eiliw ewynfriw gwynwiw gwaneg."
" Hoewfun, ludd hun, hoen gynwaneg
maen,
Pan wisg ton frwysgflaen gaen am
garreg."

Ynghanol mawl geiriog i Hywel ap Gruffudd, disgrifia Rhisierdyn yntau lendid merch fel "Lliw difrisg lluwchwisg eiry llechwedd maenol."

Cerdd o'r un natur âg eiddo Einion ap Gwalchmai i Nest yw marwnad Gwenhwyfar o Fôn, gan Ruffudd ap Maredudd ap Dafydd, sy'n llawn o linellau tlysion a dwys, megis:—

"Haul Wynedd, neud bedd, nid byw unbennes
Heb ynnill ei chyfryw;
Henw gorhoffter a dderyw,
Hoen lloer, hun oer heno yw."

"Lle bu aur am ei deurudd,
Lle bu borffor, côr a'i cudd."

"Myned mewn argel wely
Meinir dwf is mynor dy."

Yn ei linellau hwyaf, ceidw braidd at arddull drom Beirdd y Tywysogion, ond yn y llinellau byrion, ceir yn fynych lyfnder a melyster sain y cywydd ar ei oreu yn dechreu dyfod i'r golwg, megis yn y pennill hwn:—

"Adeiliwyd bedd, gwedd gwiwder,
F'enaid, i'th gylch o fynor;
Adeiliodd cof dy alar
I'm calon ddilon ddolur."

Sylwer ar feddalwch sain y geiriau. Ceir yr un nodweddion yn rhieingerddi ereill Gruffudd ap Meredudd, ac y mae cyfeiriadau at y rhamantau, sydd mor brin a chwta yng ngwaith y beirdd traddodiadol, yn amlhau yng ngherddi diwedd y cyfnod. Cymhara Gruffudd ei gariad at ryw ferch i serch Trystan at Esyllt, a chyffelyba hi o ran tegwch i Elen Luyddog. Y mae llawer mwy o liw ar ei ddisgrifiadau, a cheir ganddo linellau perffaith fel y rhai hyn:—

"Mau drennydd medru annerch,
Madws oedd, bum mud o serch."

Daw'r disgrifiad o wisg ac osgo yn llawnach, a lluosoga geiriau 'r traddodiad newydd—urael, sindal, pali, sidan, owmael, gra. Daw termau fel "trem gwalch" a "grudd ffion" o'r rhamantau yn addurn cerdd. Y mae'r un pethau 'n wir am awdlau Gruffudd ap Dafydd ap Tudur, Goronwy Gyriog, Iorwerth ab y Cyriog, Goronwy Ddu Mab Clochyddyn a Hywel ab Einion Llygliw i ferched. Gwelir fel yr oedd y meddwl a'r iaith yn newid yn un o englynion Gruffudd ap Dafydd:—

"Gwyl fun a dry hun drwy hud, cur ortho,
Câr wrthyf ddywedud;
Nid diboen na 'm hatebud,
Nid hawdd ymadrawdd â mud."[1]

"Ddyn, a ddyd gefyn ar gof,
Dywed air diwyd erof."

Hyd yn oed yn ei fesurau hirion y mae Gruffudd yn llawer symlach a llyfnach ei iaith, ac weithiau yn dlws odiaeth—

"Gwen a hoew yw hon,
Gyfliw ertrai ton,
Pan fydd eglur fron
A llon ei llais."

Yn rhai o benillion Iorwerth ab y Cyriog, ceir acen wastad a llyfnder anghyffredin:—

"Mi a baraf i ddyn araf
O'r a garaf, ryw ogerydd,
Am faniwo [f'anwiwo?] wyf fron friwo,
A'm di-liwo, ym [myn] Duw lywydd."

Daw Goronwy Ddu hefyd yn agos i'r un llyfnder, a dengys beth gwreiddioldeb yn ei fesur:—

"Goror maendwr, gwir benydiwr,
Gwael fy nghyfiwr, gwae ryfelwr, gŵyr ofalu,
Gwawn wedd, neud tau, gwynbryd Tegau,
Gwan a'th faddau, gwen a golau, gwn ei gelu." [2]

Marwnad i Wenhwyfar, gwraig Hywel ap Tudur ap Gruffudd yw cerdd Mab Clochyddyn, ond tebyg i'r Rhieingerddi ydyw o ran arddull a lliw. Nid yw awdl Hywel ab Einion i Fyfanwy Fechan lawn mor llithrig o ran mydr, a'i chymryd trwyddi, er fod ynddi hithau englynion llyfn a thlws megis hwn er enghraifft:—

"Trymaf yw cariad, tramwy, hoen eurnef,
Hwn arnaf, dy facwy;
Dy fâr, feinwar Fyfanwy,
Ar a'th gâr, ni bu fâr fwy."

Y mae dylanwad y rhamantau arno yntau. Cyffelyba Fyfanwy i Greirwy ac Esyllt, ac ef ei hun i Arwy a Thryst-

an. Yng ngwaith beirdd y cyfnod hwn, yr ydym megis ar drothwy oes Dafydd ap Gwilym. Wedi 'r rhyfeloedd hirion, daethai amser tawelach; ymledodd dylanwad iaith rydd brydferth y rhamantau; daeth effaith y Dadeni, a gerddodd dros Ewrop fel gwanwyn hardd; gwanhaodd yr hoffter at weddau geirwon natur; cryfhaodd cariad at ei lliwiau heirdd a'i ffurfiau gosgeiddig; rhoes yr ymladdwr a fyddai beunydd a'i law yn goch gan waed, le i'r gwr llys a garai gân a chwedl; daeth tlysineb merch yn destun cân.

### (e) Cerddi Ymryson a Duchan.

Ceir yn ystod y cyfnod hwn nifer o gerddi ymryson a duchan. Fel barddoniaeth, nid oes ond ychydig werth ynddynt, ond y mae'r goleuni a daflant ar hanes y traddodiad llenyddol yn ddyddorol. Yn yr ymryson rhwng Cynddelw Brydydd Mawr a Seisyll Bryffwrch, cawn enghraifft o'r ddadl rhwng dau fardd traddodiadol, lle y mae'r ddau, bob yn ail bennill, yn eu canmol eu hunain. Cyfeiria Cynddelw amryw weithiau yn ei gerddi hefyd at ei lwyddiant mewn ymryson, ac at ei " gadair." Mewn dwy awdl gan Phylip Brydydd, cawn engrhaifft o ymryson rhwng y beirdd traddodiadol a'r " gofeirdd " a'r " beirdd ysbyddaid," neu rhwng yr " hen ysgol " a'r newydd. Dywedir bod Phylip wedi canu un awdl " yn llys yr Arglwydd Rhys ieuanc yn Llan Badarn Fawr pan fu amryson rhyngtho â Beirdd Ysbyddaid pwy gyntaf o honynt a ddelai â cherdd Ddyw Nadolig." Y mae'n lled anodd deall yr awdlau, ond y mae'n ddigon eglur fod Phylip yn duchanu 'r " gofeirdd " am ganu celwydd, ac am fyned yn erbyn rheolau yr hen draddodiad llenyddol. Coffha 'r fraint a fyddai i fardd gynt, fel y caffai roddion am ganu, a dywed y tywalltai ef wirod ar lawr cyn y byddai " ermid " —meudwy, neu chwedleuwr crwydr, feallai. Dywed mai wrth " fodd saint, herwydd gwir a braint " y byddai gystadlu gynt am " Gadair Faelgwn Hir," ac mai nid y gofeirdd a'i caffai. Sonia am ryw " Fleiddriw," na roddai brid (gwerth) arno ef, ac arfera 'r gair " cwndid " mewn ffordd sy'n edrych yn debyg iawn fel pe bae 'n meddwl cerdd, yr ystyr oedd iddo yn ddiweddarach, o leiaf ym Morgannwg. Enwir un "Bledhericus," neu, Bleiddri, gan Giraldus Cambrensis, fel gŵr a fedrai 'r hen chwedlau tua 'i amser ef, ac os saif y dyddiad a roddir i Phylip Brydydd (1200—1260), nid oedd ymhell oddiwrth gyfnod Giraldus, a fu farw yn 1220. Dyma, o leiaf, y peth tebycaf a welais i yn Gymraeg i gyfeiriad at Fleiddri yn cyfateb i'r un y sonia Giraldus am dano. Yr oedd y traddodiad llenyddol Cymreig, fel y ceisiais ddangos (gwel, " Y Beirniad," Cyf. I.), yn un caeth ei ddefnydd a'i ddull, ac yn ol pob tebyg, tyfodd y rhamantau y tu allan iddo. Prin a chwta iawn yw cyfeiriadau 'r beirdd traddodiadol at gymeriadau 'r rhamantau, hyd y bedwaredd ganrif ar ddeg, ag eithro Llyfr Taliesin, a ysgrifennwyd yn ddiau gan fyneich, neu rywun neu rywrai y tu allan i gorfforaeth y beirdd traddodiadol. Nid ellir yma ddilyn y mater dyddorol hwn ymhellach, gan y cymerai yr hyn sydd gennyf i'w ddywedyd arno ormod o le, ond cyhoeddir ffrwyth yr ymchwil eto.

Ceir engrheifftiau o'r cerddi cymod gan Gynddelw, Gwilym Ryfel, Llywarch ap Llywelyn, Einion Wann, Elidir Sais, a Phylip Brydydd; ac o'r cerddi bwgwth gan Lywarch ap Llywelyn, ac o'r duchanau gan Dafydd y Coed, Trahaearn Brydydd Mawr, Hywel Ystoryn, a Madog Dwygraig. Dengys y cerddi bwgwth a chymod fod y beirdd yn ddynion digon anibynnol i ffraeo â'r Tywysogion, a digon gwan i erfyn eu maddeuant yn ostyngedig iawn wedi hynny. Gofynnodd Gwilym Ryfel gymod Dafydd ab Owain. Gwr gwyllt, yn ddiau, oedd Llywarch ap Llywelyn. Bygythiodd Ddafydd ab Owain a Gruffudd ap Cynan, a chanmolodd y ddau wedi hynny. Cyhuddwyd ef, hefyd, o ladd Madog ab Owain Gwynedd. Ceisiodd Einion Wann gymod Dafydd ap Llywelyn, ac Elidir Sais faddeuant Llywelyn ab Iorwerth. Bras iawn yw duchanau Dafydd y Coed, Trahaearn, Hywel Ystoryn, Madog Dwygraig, ac ereill—mewn gwirionedd, nid ydynt nemor gwell na chasgliadau o enwau drwg ac awgrymiadau bryntion wedi eu mydru a'u cynghaneddu yn fwy neu lai medrus. Delweddant i ni'r ffrae ganol oesol, pryd y torrid dadleuon yn amlach â'r cledd nag â'r rheswm, a'r pryd na

byddai a wnelai rheswm ond ychydig â'r dadleuon, am mai dadleuon personol oeddynt. Nid oedd rhyddid a gwahaniaeth meddwl eto wedi cynhyddu digon i beri ymresymu ar egwyddorion blaen.

## Y CHWEDLAU A'R RHAMANTAU.

Gwelsom mai ffeithiau hanes, neu bethau a allai fod yn ddigwyddiadau hanes, oedd y rhan fwyaf o ddeunydd gwaith y Cynfeirdd a Beirdd y Tywysogion. A gadael allan rai o gerddi'r "Llyfr Du," a "Llyfr Taliesin," ac Awdlau'r Saint, ni chanodd y beirdd hyn i ddim ond digwyddiadau cyffredin bywyd eu hoesau. Gwir eu bod yn aml yn mwyhau ac yn gorlliwio'r ffaith, ond nid ynt byth yn dychmygu ystori, nag yn creu cymeriad. Gyda'r chwedlau, down i fyd gwahanol iawn; cymer rhamant le rhyfel, a gwiwdeb ymadrodd le'r cwteurwydd sy'n gwneud cerddi'r beirdd mor anodd i'w deall. Er bod iaith y chwedlau yn symlach a diweddarach nag iaith y beirdd, y mae eu deunydd yn ddiameu yn cynnwys pethau llawer iawn hŷn na dim sydd yn y cerddi. Felly, yr ydym, ar ddechreu ein hastudiaeth, wyneb yn wyneb a'r ddeubeth groes hyn—bod y deunydd hynaf yn yr iaith ddiweddaraf, ar y naill law, a bod yr iaith gynharaf yn cynnwys y deunydd diweddaraf, ar y llaw arall. Ni byddai dilyn y ddadl ar darddiad y Rhamantau yn ateb diben yr ysgrifau hyn, ac nid oes a wnelo hi ychwaith, o ran hynny, â'r chwedlau fel llenyddiaeth; eto, hwyrach nad di-fudd a fyddai nodi rhai o'r prif syniadau ar y pwnc.

Perigl pob ymchwil ynghylch tarddiad pethau fel hyn yw rhoddi, ar un tu, ormod o bwys ar gysylltiad syniadau tebyg â'i gilydd, a dodi, ar yr ochr arall, ry ychydig o arbenigrwydd ar ddychymig y dyn unigol; a'r anhawster yw gwybod ymha le i wahanu ac ymha fan i uno beirniadaeth ar y deunydd ac ar yr iaith. Pan gofier perthynas yr ieithoedd Indo-Ewropëaidd â'i gilydd, a dyfod y bobloedd a'u sieryd o rywle tua'r India; a phan gaffer yn yr Wyddeleg, y Gymraeg, a'r Llydaweg, yn gystal âg mewn ieithoedd Indiaidd, draddodiadau a syniadau cyffelyb, gwelir yr hynafiaeth aruthr a ddichon fod yn perthyn i rai haenau o'r Rhamantau. Eto, cyn y ceffid ystraeon felly gan wahanol bobloedd, ac mewn amrywiol ieithoedd, rhaid fod y traddodiad cyntefig, ymha le bynnag yr oedd, wedi fforchi a byw am oesau yn amryfal geinciau; a chyda golwg ar ei ffurfiau sefydlog, wedi'r ysgrifenner, y mae'r rhai hynny, oddieithr lle na bont ond cyfieithadau moelion, yn rhan o lenyddiaeth y wlad a'u cynhyrchodd, wrth bob barn namyn rhagfarn.

Y mae'n arfer gyffredin bellach sôn am y Rhamantau Cymreig fel "Y Mabinogion"—arfer hwylus y sydd, fel y bydd termau cynhwysfawr yn ddigon mynych, yn tueddu at gam arwain. Pan arferom y gair 'Rhamantau,' ynteu, golygir wrtho yma grynswth y chwedlau. Pe na bae ar gael gennym ond cerddi'r beirdd y buom yn sôn am danynt hyd yma, ni wybuasem ond y nesaf peth i ddim am gymeriadau y Rhamantau—rhyw deitl neu ddau ar y goreu, a nifer o enwau a thermau nad allasem esbonio na'u hanes na'u hystyr. Y mae dyn ymhob oes yn hoff o hanes neu ystori, ac y mae rhai personau i'w cael sydd yn amgenach nag ereill am adrodd chwedl. O hynny, y mae'n debyg, y tarddodd ymhlith gwahanol bobloedd ddosbarth o chwedleuwyr, ac ar draddodiadau'r genedl y gweithiai'r rhai hynny. Yr oedd rhai felly ymhlith hynafiaid y Cymry, ond y mae lle i gredu nad yr un dosbarth oeddynt â'r beirdd swyddogol y gwyddom ni am danynt. [Gwel ysgrifau'r awdur yn "Y Beirniad," 1911.] A barnu wrth hynafiaeth y deunydd, rhaid bod y chwedlau wedi byw ar dafod leferydd y dosbarth hwn am oesau lawer cyn eu hysgrifennu o gwbl. Gall hynny edrych yn beth anhygoel, ond dywed Caisar ei fod yn wir am yr hen Geltiaid, ac y mae yn wir hyd heddyw, o leiaf am y Gwyddyl a'r Llydawiaid. Cefais yn ddiweddar, drwy garedigrwydd disgybl (Mr. Dewi Morgan, Aberystwyth), nifer o chwedlau a adroddwyd yn Saesneg, gan Wyddel a aned yng ngorllewin Iwerddon, ac y sydd yn cynnwys digwyddiadau y ceir eu cyffelyb yn chwedlau hynaf Iwerddon, Cymru, a Llydaw, yn gymysg, wrth gwrs, â phethau llawer diweddarach. A

ddigwydd eto a ddigwyddodd gynt. Ond fe ddaeth tymor a ddug y chwedlau hyn i sylw cenhedloedd ereill. Daeth y Normaniaid i Gymru yn yr unfed ganrif ar ddeg. Enillasant rannau o'r De yn gynnar. Ymladdodd Gwynedd yn hir am ei hanibyniaeth. Yn y De, cymysgodd Normaniaid a Chymry, trwy briodas ac mewn cymdeithas. Dysgodd y Normaniaid Gymraeg, a thrwy hynny aeth y chwedlau ar led i ieithoedd ereill.

Dechreuodd cyfnod yr ymledu, yn ddiau, cyn amser Sieffre o Fynwy, ond ei enw ef yw enw mawr cyntaf y cyfnod. Ganed ef ym Mynwy, tua diwedd yr unfed ganrif ar ddeg, a bu beth amser, fel y tybir, yn fynach o urdd Benedict. Yr oedd Arthur, ei dad, yn gaplan i Iarll Penfro, ond magwyd Sieffre gan ei ewythr, Uchtryd, archddiagon, ac wedi hynny, esgob Llandaf. Aeth i Rydychen, ac yno, tua'r flwyddyn 1129, cyfarfu â'r Archddiagon Walter, o'r ddinas honno. Ystori Sieffre yw, mai gan Walter y cafodd ef ddeunydd ei lyfr ei hun, "Hanes Brenhinoedd y Brytaniaid." Dug Walter "lyfr tra hynafol," medd Sieffre, "o Brydain," ac o hwnnw y cafodd yntau'r hanes. Y mae'r dysgedigion bellach yn ameu yr hen lyfr, ac yn tybio yn gyffredin mai Llydaw a feddylid wrth "Brydain." Nid ellir, wrth gwrs, ddibynnu ar yr hanes a rydd Sieffre, ond y mae cyn wrthuned a hynny awgrymu, fel y gwna llawer, mai ei ddyfais ef ei hun yw popeth a ysgrifennodd. Y farn fwyaf pwyllog yw, mai casglu hen chwedlau at ei gilydd a'u trwsio a wnaeth, a thybir yn lled gyffredin erbyn hyn mai o Lydaw yn bennaf y cafodd y traddodiadau am Arthur. Pa wedd bynnag, o'i waith ef, a chwedlau ereill tebyg nad ynt ganddo ef, yr ymledodd ystoriau Arthur a Myrddin, trwy lenyddiaeth Ewrop. Dechreuodd rhamantau wedi eu seilio ar yr hen chwedlau hyn dyfu ac amlhau, a chymerth y beirdd Ffrengig—Chrétien de Troyes yn arbennig—afael ar y mater. Daeth y dylanwad hwnnw yn ol i Gymru, a rhoed ffurf ysgrifenedig i'r chwedlau yn Gymraeg. Dyna'r Rhamantau yr ydym yn sôn am danynt. Fel y maent hysbys i ni, ceir hwy gan mwyaf yn "Llyfr Gwyn Rhydderch," a "Llyfr Coch Hergest." Amrywia oed yr ysgrifau yn y ddeulyfr hyn o ddiwedd y drydedd ganrif ar ddeg i hanner olaf y bedwaredd ar ddeg, a thybir fod y chwedlau yn y Llyfr Coch wedi eu codi o'r Llyfr Gwyn, neu ynteu gopïo'r ddau o lyfr cynharach fyth; eithr y mae darnau o ystoriau Peredur a Geraint ar gael oedd yn perthyn i tua 1300 a 1275. Felly, yr oedd corff y chwedlau, mewn ffurf fwy neu lai sefydlog, yn hysbys rhwng 1275 a 1350, a dywedyd y lleiaf. O'u chwilio, sut bynnag, gwelir fod torreth eu cynnwys yn draddodiad ers canrifoedd cyn hynny. Prin yr ydys eto wedi torri'r ddadl ai o Gymru ai o Lydaw y cafwyd y chwedlau gwlad am Arthur. Dadleuai Gaston Paris dros eu tarddiad Cymreig a Zimmer dros eu ffynhonnell Lydewig. Gydag ef i raddau y cytuna Dr. Kuno Meyer. Deil ysgolheigion Almaenaidd, Fürster a Golther ar y blaen yn eu plith, na roes Cymru nemor ddim o bwys at ramantau Arthuraidd y Cyfandir, ac nad oes ond ychydig hyd yn oed o haenau chwedlonol y rhamantau yn Geltaidd o gwbl. Ar y llaw arall, cred Syr John Rhys a'r Athrawon Joseph Loth a F. Lot mai o chwedloneg Cymru y cafwyd gwreiddiau rhamantau'r Cyfandir, ac nid yw'r Almaeniaid, hyd yma, o leiaf, wedi ateb dadleuon cryfion Loth a Lot. A'r rhamantau Arthuraidd, pa wedd bynnag, y mae a wnelo'r ddadl hon. Y mae chwedlau ereill i'w cael, nad oes a wnelont âg Arthur, ac nad oes amheuaeth am eu tarddiad Cymreig, fel y cawn ddangos yn nes ymlaen.

Profwyd mewn ysgrif o'r blaen na ddaeth y chwedlau hyn i mewn i brydyddiaeth Beirdd y Tywysogion o gwbl, ond bod eu dylanwad yn cryfhau tua diwedd y bedwaredd ganrif ar ddeg. Eto, rhaid bod y chwedlau eu hunain yn hysbys ddigon, o leiaf hyd nes darfu am yr hen ddiwylliant Cymreig. Yna, fe'u hangofiwyd am ysbaid. Cyhoeddwyd rhai o honynt yn y "Cambrian Register," y "Cambro Briton," y "Cambrian Quarterly," "Y Greal," a chyhoeddiadau tebyg, o dro i dro, rhwng 1802 ag 1833. Ond yn 1838 dechreuodd Lady Charlotte Guest gyhoeddi nifer o chwedlau Cymraeg gyda chyfieithad Saesneg, tan y teitl "Mabinogion." Cymerth hwy, i gyd onid un, o'r Llyfr Coch. Dyma eu teitlau:—Math vab Mathonwy, Peredur ab Efrawc, Iarlles y Ffynnawn, Geraint ab

Erbin, Kulhwch ac Olwen, Breuddwyd Rhonabwy, Branwen verch Llyr, Manawyddan vab Llyr, Pwyll Pendevig Dyved, Lludd a Llevelys, Hanes Taliesin, a Breuddwyd Maxen Wledig. Nid yw "Hanes Taliesin" yn y Llyfr Coch, ac ni chafwyd eto hyd i gopi cynharach na'r ail ganrif ar bymtheg o hono, er ei fod, yn ddiau, yn llawer hŷn na hynny. Tynnodd y chwedlau hyn sylw rhag blaen. Yn 1841, cyhoeddodd Schulz, yn yr Almaen, a Villemarqué yn Ffrainc, yn 1842, lyfrau ar y pwnc. Yn 1858, seiliodd Tennyson ei "Enid" ar chwedl Geraint. Yn 1867, daeth darlithiau rhagorol Matthew Arnold ar Lenyddiaeth Geltaidd allan. Yn 1880, cyhoeddodd Isaac Foulkes, Lerpwl, argraffiad o'r chwedlau, gyda chyfieithad i Gymraeg diweddar. Yn 1887, cyhoeddodd Syr John Rhys a Dr. Gwenogvryn Evans adlun o gopi'r Llyfr Coch. Yn 1897, printiodd Dr. Evans adlun llai o'r "Pedair Cainc," "Breuddwyd Maxen," a "Lludd a Llevelys." Yn 1889, daeth cyfieithad Ffrangeg gan M. Loth allan yn ddwy gyfrol, gwaith manylach nag eiddo Lady Guest, gyda llawer o nodiadau gwerthfawr. Yn 1896, cyhoeddodd Mr. J. M. Edwards argraffiad o'r Pedair Cainc, wedi eu trosi i iaith ddiweddar. Yn 1902, printiodd David Nutt argraffiad newydd o gyfieithad Lady Guest, dan olygiad Alfred Nutt, gyda nodiadau hwylus, a chaed rhai mân argraffiadau ereill ar ol hynny yn Saesneg o rai o'r chwedlau. Yn 1909 cyhoeddodd Dr. Gwenogvryn Evans argraffiad ardderchog o'r chwedlau fel y ceir hwy yn "Llyfr Gwyn Rhydderch." Felly, y mae'r ystraeon yn weddol hawdd i'w cael mewn tair iaith, o leiaf.

Am y pethau a ysgrifennwyd yn eu cylch, y maent yn lluosog. Gellir yma nodi ychydig o honynt yn unig, megys yr "Hibbert Lectures," 1888, gan Syr John Rhys, a'i "Studies in the Arthurian Legend;" "Custom and Myth," Andrew Lang, 1898, a'i ysgrif yn yr 'Encyclopædia Britannica" ar chwedloneg; traethawd Alfred Nutt ar "The Celtic Doctrine of Re-birth," yn y "Voyage of Bran," a gyhoeddwyd ganddo ef a Dr. Kuno Meyer, 1895-7; astudiaeth "Branwen" gan Alfred Nutt, yn y "Folk-lore Record" am 1882; ysgrifau Syr Edward Anwyl ar y "Pedair Cainc" yn y "Zeitschrift für Celtische Phililogie," tuag 1901-2, a'i ysgrif yn "Y Gwyddoniadur;" ysgrif Dr. Kuno Meyer yn "Y Cymmrodor," 1895-6; ysgrifau M. D'Arbois de Jubainville yn ei Gwrs ar Lenyddiaeth Geltaidd; "Celtic Folk-lore, Welsh and Manx," gan Syr John Rhys, 1901. Ceir cyfeiriadau at y pwnc yn "Literature of the Kymry" Thomas Stephens, a "Welsh People" Syr John Rhys a Syr D. Brynmor Jones, 1899. Yn 1901, cyhoeddodd D. Nutt lyfryn bychan buddiol ar "Y Mabinogion," gan Mr. Ivor B. John. Cyhoeddwyd hefyd liaws o bethau dyddorol ar y pwnc mewn llyfrau ac ysgrifau ar y chwedlau Gwyddeleg gan Wyddyl ac Almaeniaid.

### (a) Y Pedair Cainc.

O'r chwedlau a gyhoeddodd Lady Guest, y mae pedair sydd megis yn perthyn i'w gilydd, ac yn ffurfio rhes o ystoriau, sef "Pwyll Pendevig Dyved," "Branwen verch Llyr," "Manawyddan vab Llyr," a "Math vab Mathonwy." Wrth ben chwedl Pwyll yn y llawysgrif, ceir y geiriau hyn—"Llyma dechreu Mabinogi," a gelwir y pedair chwedl "Pedair Cainc y Mabinogi." Felly, a bod yn fanwl, y pedair chwedl hyn yw'r Mabinogion, a Lady Guest a gynhwysodd y chwedlau ereill tan y teitl. Sylwer nad yw'r ffurf luosog "Mabinogion" yn rheolaidd o'r ffurf "Mabinogi." Pa beth ynteu yw ystyr "Mabinogi?" Syniad Stephens ac ereill yr un adeg ag ef ydoedd mai bachgen neu lanc oedd ystyr "Mabinog," ac mai chwedlau a ysgrifennwyd i ddifyrru'r penaethiaid ieuainc oedd yr ystoriau hyn. Wedi hynny, awgrymodd Syr John Rhys mai ystyr "Mabinog" oedd prentis llenyddol wrth reolau'r beirdd, ac mai meddwl "Mabinogi" oedd cwrs addysg y "Mabinog," sef y pethau yr oedd yn rhaid iddo eu dysgu. Erbyn hyn, fel y dywed Dr. Gwenogvryn Evans ["Y Mabinogion o Lyfr Gwyn Rhydderch"] y mae ystyr y gair yn hysbys. Yn y "Llyfr Gwyn" ei hun, ceir cyfieithad o efengyl a alwyd ar enw Mathew, yn pwrpasu rhoi hanes "Mabolyaeth Iessu Grist;" ac mewn un arall o Ysgrifau Peniarth (Rhif 14), sy'n perthyn i'r un cyfnod, gelwir y ffug efengyl honno yn "Fabinogi Iesu Grist." Mewn ysgrif yn Llyfrgell Bodley, Rhydychen, "Libellus Infantia

Salvatoris"—Llyfryn Mabinogi'r Gwaredwr, y gelwir y gwaith hwn, ac y mae'r gair "Enfance" yn Ffrangeg i'w gael yn dwyn yr un ystyr. Felly, yr un peth yw Mabinogi â Mabolaeth, neu Ieuenctid. At hyn, fel y danghosais eisoes, y mae'n lled sicr nad oedd a wnelai'r beirdd traddodiadol â'r chwedlau mewn iaith rydd. Dengys eu cyfeiriadau at enwau rhai o'r cymeriadau eu bod yn gwybod am danynt, ond nid oes brawf eu bod yn eu dysgu i'w disgyblion, fel y byddai'r "ollamh" a'r "fili" Gwyddelig yn dysgu chwedlau i'w disgyblion hwy. Y mae ar y llaw arall brofion eu bod yn dirmygu iaith sathredig y rhamantwyr yn y drydedd ganrif ar ddeg, ac yn eu cyhuddo o adrodd celwydd; a dengys eu gweithiau eu hunain nad ystyrient y chwedlau yn ddeunydd priodol i'r beirdd pencerddaidd. Y mae'r pethau hyn, a'r ffaith mai ar ol derbyniad y chwedlau gan y Normaniaid y daethant i'r bri uchaf yng Nghymru ei hun, yn profi nad oedd y chwedlau yn rhan o gelfyddyd y beirdd swyddogol.

Ond gwelsom fod chwedlau Pwyll, Branwen, Manawyddan a Math yn perthyn i'w gilydd, ac yn dra gwahanol i'r lleill a gyhoeddodd Lady Guest tan yr enw "Mabinogion." Ac y mae hynny yn beth pwysig i'w gofio. Gellir rhannu'r chwedlau a gyhoeddodd Lady Guest yn bum rhan, fel hyn, yn ol barn rhai [Gwel, "The Mabinogion,"—D. Nutt, 1902]:—

1. Y Pedair Cainc—Pwyll, Branwen, Manawyddan a Math—y rhai hynaf.

2. Breuddwyd Maxen, Cyfranc Lludd a Llevelys, yn perthyn i hanes traddodiadol Sieffre o Fynwy.

3. Kulhwch ac Olwen a Breuddwyd Rhonabwy, yn sôn am Arthur, ond heb berthynas â nodwedd y rhamantau a geir yn Ffrangeg ac Almaeneg.

4. Iarlles y Ffynnon, Geraint ac Enid, a Pheredur ab Efrawc, yn perthyn o ran nodwedd i ramantau 'r bardd Ffrengig o'r ddeuddegfed ganrif, Chrétien de Troyes, a'r bardd Almaenaidd Wolfram von Eschenbach.

5. Hanes Taliesin, yn perthyn i chwedlau Arthur oblegid ei arwr, ond âg ynddo lawer nodwedd sy'n ei gysylltu â'r Pedair Cainc. [Ond y mae ereill, megis Dr. Gwenogvryn Evans, yn dal bod Kulhwch ac Olwen yn hŷn na'r Pedair Cainc o ran iaith a llawer o'i chynnwys; bod y Pedair Cainc yn dyfod yn ail; Peredur yn drydydd, am ei bod yn ei gwisg Gymraeg yn gysonach na chwedlau Chrétien de Troyes a Wolfram von Eschenbach; Owain a Geraint yn nesaf, ac yna Lludd a Llevelys, Breuddwyd Maxen a Breuddwyd Rhonabwy. O'm rhan i, tueddaf i gytuno gyda golwg ar ddull yr iaith, ond nid dyma'r lle i fynd ar ol hynny].

Pa bryd ynteu y cymerth y Pedair Cainc y ffurf sydd arnynt gennym ni? Dengys yr orgraff eu bod wedi eu codi oddi ar gopi nad all fod yn ddiweddarach na diwedd y ddeuddegfed ganrif, a thyb ysgolheigion yn gyffredin mai yn rhywle o'r ddegfed ganrif i'r unfed ar ddeg y cymerth y Pedair Cainc eu ffurf fel y maent. Profir hynny fel hyn:—Gorthrechwyd Lloegr gan y Normaniaid yn 1066. Ymledodd chwedlau Arthur dros Ewrop yn yr ail darn o'r ddeuddegfed ganrif. Daeth effaith hynny yn ol i Gymru, fel y dengys y chwedlau Cymraeg arbennig am Arthur. Nid oes dim o ddylanwad y chwedlau diweddarach hyn am Arthur ar y Pedair Cainc. Felly, rhaid eu bod hwy wedi eu hysgrifennu cyn i'r chwedlau o'r Cyfandir gyrraedd yn ol i Gymru yn y ddeuddegfed ganrif. Y mae gan hynny yn weddol ddiogel rhoi fod y Pedair Cainc o leiaf yn awgrymu pa beth oedd celfyddyd y chwedleuwr Cymreig cyn iddo ddyfod tan ddylanwad y Ffrancod. Nid enillodd ddim trwy'r dylanwad hwnnw. Cymharer y Pedair Cainc â gwaith Chrétien de Troyes, neu â gwaith Malory yn llawer diweddarach, a gwelir bod eu hawduron yn anrhaethol amgenach crefftwyr.

Am gynnwys y Pedair Cainc fel ystraeon, clywais ddyn, eithaf synhwyrol hefyd, yn dywedyd unwaith mai dyna'r pethau ffolaf y ceisiodd erioed eu darllen. Tybiai nad allai ond plant byth fwynhau'r fath bethau. O'm rhan fy hun, gwerthwn bob mwynhad am ddifyrrwch plentyn. Eto, gorffwys llaw-

er ar y ffordd yr edrychom ar ystraeon fel hyn.

Fel y dywed Syr Edward Anwyl, gellir edrych ar hanes Pryderi fab Pwyll, Pendefig Dyfed, fel cnewyllun y Pedair Cainc ["Y Gwyddoniadur," cyf. X], ac wrth hynny, y mae syniad Mr. W. J. Gruffydd, mai mab i Riannon ac ymwelydd o'r byd arall oedd Pryderi yn ymddangos yn naturiol, yn enwedig o gymharu'r ystori â'r rhai Gwyddelig ["The Mabinogion," Cymmrodorion Society's Publications, 1914]. Os trinwn y chwedlau felly, cawn eu bod yn ymwneud â Phryderi fel hyn: Y noson y ganed ef, fe'i collwyd, a meithrinwyd ef am ysbaid gan Deyrnon Twrf Liant, hyd oni adnabu hwnnw pwy oedd a'i adfer i'w rieni. Wedi marw Pwyll, priododd Pryderi ferch Gwynn Gohoyw, Cicfa oedd ei henw. Yn yr ail chwedl, y mae Pryderi yn un o'r rhai oedd gyda Bendigeidvran yn ei ryfel yn Iwerddon, ac wedi hynny yn cludo ei ben i'w gladdu yn Llundain. Yn y drydedd, ceir ef a Manawyddan yn mynd i Ddyfed, lle dodwyd hud ar y wlad ac y digwydd iddo lawer o bethau rhyfedd. Yn yr olaf, y mae Gwydion ap Don yn dwyn moch oddi arno drwy hud, ac wedi hynny yn ei ladd drwy ddewiniaeth. Daw'r digwyddiadau ereill i mewn cyn y pethau hyn, rhyngddynt, ac ar eu holau. I ddechreu, cawn hanes Pwyll, wrth hela yng Nglyn Cuch, yn cyfarfod âg Arawn frenin Annwn, ac yn cytuno i gymryd ei lun a'i le, er mwyn trechu Hafgan, gelyn iddo, ac Arawn yn cymryd ei le a'i lun yntau. Os na dderbynnir syniad Mr. Gruffydd, nid oes i'r rhan hon nemor wasanaeth yn yr ystori. Yna, daw hanes Pwyll yn cyfarfod â Rhiannon, dan amgylchiadau sydd yn sicr yn awgrymu ystori arall, neu ynteu yn perthyn i ddyfodiad rhywun o'r byd arall i geisio Rhiannon. Yn ystori Branwen, nid oes i Bryderi ond rhan fechan. Cysylltir Brân â Gogledd Cymru, a chynnwys yr ystori yn fyr yw rhoddi Branwen, ei chwaer, yn wraig i Fatholwch, brenin Iwerddon, a'r peth a ganlynodd hynny. Camdrinir Branwen yn Iwerddon; aiff Brân a'i wyr yno i ddial ei cham; clwyfir ef yn ei droed â gwaew gwenwynig; eirch yntau i'w ganlynwyr dorri ei ben, a'i ddwyn i'w gladdu yn Llundain; ac y maent saith mlynedd a phedwar ugain ar y daith honno, a'r pen cystal ei gymdeithas ag y bu erioed ganddynt. Prif bwynt y drydedd gainc yw'r hud a roed ar Ddyfed wedi dychwelyd Pryderi a Manawyddan yno o Lundain. Medrodd Manawyddan dorri'r hud o'r diwedd, a chael allan mai i ddial sarhad Gwawl fab Clud y dodwyd ef ar y wlad. Y mae hynny yn cysylltu'r rhan hon â'r rhan gyntaf, lle dywedir fel yr enillodd Pwyll Riannon oddi ar Wawl drwy gast. Yn y bedwaredd ystori, sy'n digwydd yng Ngwynedd, daw hanes teulu Don i mewn, ac nid yw dwyn y moch a lladd Pryderi ond rhan o honi. Yn wir, nid yw helynt y moch ond esgus i roddi cyfle i Gilfaethwy dreisio Goewin, morwyn Math, y brenin. Yna ceir hanes Gwydion yn meithrin mab ei chwaer ei hun, Arianrhod, a thrwy hud yn peri iddi roddi arfau ac enw iddo wedi iddi dyngu nas gwnai. Gelwir y mab Llew Llaw Gyffes. Adroddir fel y creodd Math wraig i Lew, o'r blodau, a'i galw Blodeuwedd; fel y bu hithau anffyddlon iddo, a pheri ei ladd gan Gronw Pebyr, ei charwr; fel y troes Llew yn eryr; fel y cafodd Gwydion hyd iddo a'i ddadrithio; fel y dialodd yntau ei gam ar Ronw Pebyr, a throi Blodeuwedd yn dylluan.

Gwelir bod llawn cymaint o gynnwys y chwedlau heb fod yn perthyn i Bryderi âg y sydd yn ymwneud âg ef. Pa beth bynnag a ddyweder am Bryderi fel arwr y pedair cainc, y mae yn wir yn ddigon eglur eu bod yn cynnwys amryw chwedlau am amryw deuluoedd ac am wahanol rannau o'r wlad. Y mae'r digwyddiadau yn fynych yn rhai amhosibl i ddynion, a rhai o honynt yn wrthun, os nad gwrthwynebus. Pa le, ynteu, y mae gogoniant y chwedlau?

Yr ateb yw eu bod yn rhoddi ini hanes ein hynafiaid—mwy na hynny, hanes ymdrechion meddwl dyn am filoedd o flynyddoedd, o'r pryd yr oedd yn bagan crwydr, nad ŵyr neb yn iawn pa bryd nac ymha le, nes ei gartrefu yng Nghymru a'i droi'n rhyw fath o Gristion. Er mor ddieithr y gallai dywedyd hynny ymddangos i lawer, y mae'n wir mai yn y chwedlau hyn y cawn fwyaf am hen syniadau crefyddol ein hynafiaid—eu hymdrech i ddeall y byd a'u gosod eu hunain mewn iawn

berthynas âg ef. Cristionogol oedd y beirdd, a hynny, fe allai, oedd y rheswm eu bod yn cau'r hen chwedloneg allan o'u gwaith. Ond cawn yn y rhamantau yn ddiameu haen o chwedloneg hen iawn, a honno, ond odid, yw'r peth pellaf oddi wrthym sydd ynddynt. Yna, cawn haen o Hud a Lledrith diweddarach, yn cynnwys pethau sy'n ymddangos fel pe baent yn perthyn i ddechreuad y crefftau cynharaf. Dilynir yr Hud a'r Lledrith gan ddatblygiadau arbennig mewn rhai cyfeiriadau ar gymeriadau neilltuol, ac yn olaf gan arferion Cristionogol.

Yn y pethau a ddywedir am Fendigeidfran, er engrhaifft, cawn yn ddiameu weddillion traddodiadau am ryw hen dduw cyntefig. Y mae yn y cyfeiriadau hyn ato dair ansawdd oruwchnaturiol, sef ei faint, y gynneddf oedd arno nad ellid ei ladd fel dyn arall, a'r gynneddf fod ei ben yn fyw ar ol ei dorri. Pan gyrchodd tuag Iwerddon i ddial cam Branwen, tybiodd gweision Matholwch mai mynydd ydoedd, ac esgair uchel arno, a llyn o bobtu iddi. Eglurodd Branwen iddynt mai Bran oedd y mynydd, ac mai ei ddau lygad o bob parth i'w drwyn oedd y ddau lyn o bobtu i'r esgair. Dywedir amryw weithiau ei fod yn rhy fawr i unrhyw dŷ ei gynnwys, ac mai mewn pebyll y trigai. Disgrifir ef yn cario rhai o'i ganlynwyr ar ei gefn trwy'r dwfr bas, ac yn gorwedd ar draws afon yn lle pont i'w fyddin. Awgrymir nad ellid ei ladd fel dyn arall, a'r dull y clwyfwyd ef oedd â "gwenwyn waew" yn ei droed. Cymharer hyn â'r traddodiad Groegaidd am Achiles. Wedi ei glwyfo, parodd Brân i'w ganlynwyr dorri ei ben, gan ddywedyd y byddai cystal ganddynt ei gymdeithas âg erioed. Gallai fod yma hefyd gyfeiriad at arfer yr hen Geltiaid o dorri pennau eu gelynion a chadw'r croen a'r penglog fel arwyddion o'u buddugoliaethau. I'r haen chwedlonaidd hefyd, yn ddiau, y perthynai Llyr a theulu Don ar y dechreu, ac efallai fod a wnelo trefn y totem rywbeth â chysylltiad cynifer o'r cymeriadau âg anifeiliaid ac adar.

Y mae'r Pedair Cainc eto yn llawn o'r Hud a'r Lledrith a'r ddewindabaeth sy'n perthyn i ddynion yn hytrach nag i'r duwiau. Ni fedrai Arawn, er engrhaifft, drechu Hafgan, ond gallai ddodi hud ar Bwyll ac arno ei hun. Perthynai yr un math ar hud i Hafgan, canys er y lleddid ef â'r ergyd cyntaf, byddai byw os rhoddid iddo ail dyrnod. Hud hefyd oedd ynglŷn â helbul Teirnon Twrf Liant a'i gaseg, er nad eglurir pwy oedd y Dewin yno. Yn ystori Branwen, yr ydym ynghanol yr Hud ar hyd y ffordd. Byddai hanes y Pair mewn llenyddiaeth Geltaidd yn ddyddorol iawn. Yr oedd mwy nag un o honynt. Y mae'n naturiol bod tân ynglyn â'r pair, ond peth arall yw rhinwedd y pair ei hun; o ystori Branwen ac ystori Pair Ceridwen, ac ereill yn Gymraeg, Gwyddeleg a Llydaweg, i lawr hyd yr ystraeon llafar gwlad am y cig neu'r pwdin a fyddai, yn oes ein tadau, yn neidio o'r crochan weithiau, ac yn dawnsio ar lawr y gegin, neu rolio allan o'r tŷ. Edrydd chwedl Branwen gryn dipyn o hanes y Pair—digon, yn wir, i ddangos bod y darn yn rhan o ystori arall. Awgryma'r Pair o leiaf ini ddechreuad crefft y crochenydd. Cawn gryn nifer o bethau tebyg yn y Pedair Cainc. Wedi cyrchu Lloegr, ar ol dodi'r Hud ar Ddyfed, wrth grefftau yr ymgynhaliodd Manawyddan a Phryderi, sef gwneuthur cyfrwyau, tarianau ac esgidiau. Crydd hefyd oedd Manawyddan pan aeth ef a Chicfa i Loegr yr ail tro. Gall y pethau hyn fod yn gynnar, ac y mae'n debyg mai drwy edrych ar eu cychwyniad fel gwaith rhyw gymeriad chwedlonol y cysylltwyd hwy â'r Hud neu'r Ddewiniaeth sydd ynglŷn â hwy yn yr ystraeon.

Ond y mae yn y chwedlau hefyd lawer o bethau yn perthyn i gyfnodau diweddarach, megis gwneud a lliwio'r cyfrwyau, y tarianau a'r esgidiau. Perthyn i gyfnod masnach sefydlog y mae'r sôn am y crefftwyr yn Lloegr yn bwgwth lladd Manawyddan a Phryderi am ddwyn eu busnes oddi arnynt; ac yr oedd Cicfa wedi dysgu dirmygu gwaith llaw, oni byddai lanwaith. "Arglwydd, heb hi, nid hoff honno [sef cryddiaeth] ei glaned i wr cyn gyniled, cyfurdd â thi." Yma cawn gymysgu dau gyfnod. Saif Manawyddan dros yr adeg pryd yr oedd medru gwneud gwaith lledr yn dyrchafu dyn i fod yn fath ar ddewin yngolwg ei gyd-ddynion. Ceir ol yr un cyfnod mewn chwedlau ereill, megis

"Kulhwch ac Olwen," ac hyd yn oed yn y gyfraith Gymreig. Parch yr hen grefft oedd bod Manawyddan a Phryderi yn ei dilyn. Ond saif Cicfa dros dymor llawer diweddarach, pryd yr oedd y crefftau wedi dyfod yn gyffredin —yn rhy gyffredin i ferched bonheddig ganlyn rhai yn eu medru. Gair y gyfraith hefyd yw "taeogeu," y gair a arferodd Pryderi a Chicfa am y crefftwyr oedd yn bwgwth eu lladd, ac nid gair cyfnod dechreuad y crefftau, pan oedd y crefftwr yn rhywbeth rhwng dyn a dewin a duw. "Cyweiriaw lledr," "cordwal," "eurych," "gwäegau"—pethau yr oesau â hanes iddynt yw'r rhai hyn hefyd. Yn ystori Math, cryddiaeth oedd crefft Gwydion yng Nghaer Arianrhod.

Pan aeth Manawyddan a Chicfa adref i Ddyfed o Loegr, wedi'r ail ymdaith yno, dug Manawyddan wenith i'w ganlyn. Rhaid bod hynny yn cyfeirio at adeg pryd yr oedd gwenith o leiaf yn beth dieithr yn y wlad, a gellir ei gysylltu â'r traddodiadau am ddechreuad amaethyddiaeth. Ond y mae'r chwedl yn sôn am "grofft," gair Anglo-Sacson, o'r un dras, meddir, â'r gair Daneg, kroft—bryn bychan. Pan ysgrifennwyd yr ystori fel y mae gennym ni, yr oedd tyfu gwenith yn beth hysbys. Cyfeiriad arall at ddechreuad amaethyddiaeth a dofi anifeiliaid yw hanes Gilfaethwy a Gwydion yn cyrchu'r "Hobeu," neu'r moch, o Ddyfed. "Anfeiliaid bychain, gwell eu cig no chig eidon," medd yr hanes, "ac y maent yn symudaw enwau. Moch y gelwir weithon." Cadwyd yr enw cyntaf yn y gair "norob" a "nerob" =hanner hob, yng Ngwynedd a Phowys hyd heddyw. Pan aeth Gwydion i chwilio am Lew Llaw Gyffes, cafodd hyd iddo drwy ganlyn yr hwch o'r "creu" wrth dŷ'r "mab aillt" ym Maenor Bennardd yn Arfon. Yno, ni ddywedir amgen na bod cadw moch yn hen beth, er na chlywsai Math ar ddechreu'r ystori erioed sôn am foch. Felly, daeth hanes cyrch y moch o darddiad gwahanol, a chynharach na hanes yr ymchwil am Lew Llaw Gyffes. Nid oes gysylltiad rhwng y ddau ddigwyddiad a'i gilydd, ond eu bod yn yr un cyfarwyddyd. Y mae hanes Pryderi yn cael y moch gan Arawn o Annwfn hefyd yn sicr yn hŷn na'r cais i egluro'r enwau lleoedd Mochdref a Mochnant,—sy'n ddyledus, fel y gwyddom bellach, i ddawn y chwedleuwr.

Y mae'r elfen hud sydd ynglŷn a'r cyfeiriadau at y crefftau yn ei hesbonio ei hun i ryw fesur. Gradd arall yn y peth yw'r gweithredoedd rhyfeddol a briodolir i'r cymeriadau ar wahan i'r crefftau. Gellir eu crynhoi hwythau dan amryw bennau, megis cynneddf mewn rhai pethau ar bersonau neilltuol. Gallai Branwen ddysgu iaith i aderyn drudwen. Nid allai Manawyddan na Phryderi ddim rhag yr hud a roed ar Ddyfed, ond ymddengys fod gan Fanawyddan ryw syniad beth oedd ystyr y llygod a ddifäodd ei wenith, gan na fynnai ryddhau'r llygoden a ddaliodd am unrhyw bris. Dewin mawr oedd Math. Clywai sisial rhwng dynion, os cyfarfyddai'r gwynt âg ef; gallai droi dynion yn greaduriaid a'u dadrithio drachefn; ond ni wyddai amcanion Gilfaethwy a Gwydion yn ei erbyn. Dewin mawr hefyd oedd Gwydion ei hun. Gallai droi'r madarch yn feirch a chwn tros amser, a thrwy "nerth ac angerdd a hud a lledrith," gallodd ladd Pryderi. Ond ni fedrai wrthsefyll hud Math wedi hynny. Trwy gastiau, yn hytrach na dewiniaeth, y cafodd gan Arianrhod roi enw ar Lew Llaw Gyffes, ac arfau iddo, er fod ganddo ddigon o ddawn dewin i "hudo llong," a throi delysg a gwymon yn lledr, a gorchuddio wyneb y môr â llongau. Amlwg bod y castiau yn perthyn i gyfnod gwahanol i'r hud. Ni wyddai Gwydion pa beth a ddaethai o Lew Llaw Gyffes, wedi ei ladd gan Ronw Pebyr, ac nid oes ond awgrym o allu dewin yn y modd y daeth o hyd iddo yn Nant Lleu, fel eryr ym mrig y pren. Dengys yr englynion a lefarodd yno bod y rhan honno o'r ystori yn hen iawn. Yn y diwedd, â'r hudlath y dadrithir Llew gan Wydion. Yr oedd Llew yntau hefyd yn ddewin. Ni fedrid ei ladd fel dyn cyffredin. Diau fod gweddillion rhyw chwedl arall ym manylion y modd y gellid ei ladd—yr ennaint, y gerwyn a'r bwch. Gallai droi yn eryr wedi ei glwyfo, ond nid allai ymwared o hono ei hun. Gallai droi Blodeuwedd yn dylluan, ond math o "gyfiawnder barddonol" oedd iddo ladd Gronw yn union fel yr amcanodd

hwnnw ei ladd yntau. Yn ei waith yn gadael i Ronw ddodi'r llech rhwng ei gorff ei hun â'r gwaew, cawn engrhaifft deg o sifalri'r rhamantau Arthuraidd.

At y pethau hyn, gellid olrhain arferion tylwythol a chyfreithiol yn y chwedlau, yn gystal ag arferion Cristionogol. Dyddorol hefyd, a phwysig, yw eu daearyddiaeth, y galwedigaethau y cyfeirir atynt, yr anifeiliaid, y coed a'r blodau a enwir ynddynt, a'r goleuni a ront ar ryfeloedd tylwythol.

Rhydd y bras ddadansoddiad hwn i ni ryw syniad am eu deunydd a'u twf, ond peth arall yw eu rhagoriaeth llenyddol, eu tlysni ymadrodd, eu gallu disgrifiadol, eu dawn i lunio cymeriadau. Dengys eu hangysonderau fod hen hen chwedlau yn gorwedd tan yr ystraeon, a bod y neb a'u luniodd fel y maent, chwedl Matthew Arnold, yn trin deunyddiau nad oeddynt yn eu deall. Ymwthiai yr hen dduwiau i'r wyneb o hyd. Cymharol ychydig o ffyrnigrwydd a gwrthuni sydd yn y Pedair Cainc. Y mae Efnisien yn hacru'r meirch yn greulon, yn malu esgyrn pennau'r Gwyddyl, ac yn bwrw ei nai i'r tân. Ond ynghanol y gweddillion hyn, sydd yn mynd yn ôl i gyfnod barbaraidd yn ddiau, cawn hyd i olion yr ail gyfnod—cyfnod y Gristionogaeth, a moesau mwy gwaraidd. Yn ystori Manawyddan, y mae ysgolhaig ac esgob a'i orgordd yn dyfod i'r golwg ynghanol yr holl ddewiniaeth, ac yn chwedl Math yr ydys yn "bedyddiaw Blodeuwedd o'r bedydd." Dyma yn y chwedlau cynharaf bethau sy ddyledus i'r grefydd newydd, ond yn gymysg â'r hen. Ol moes Cristionogol, ond odid, sydd ar ddiweirdeb Arawn pan gymerth lun a lle Pwyll. Pan fwriwyd Hafgan oddiar ei farch gan Bwyll yn Annwn, dyma'r ymddiddan rhyngddynt:—

"Ni wyddwn i achos it fy lladd i," ebr Hafgan, "ac er duw, canys dechreuaist fy lladd, gorffen."

"Ha Unben," ebr Pwyll, "ef a eill fod yn edifar gennyf a wneuthum it. Cais arall a'th laddo. Ni laddaf i di."

Gwir fod amcan i'r peth, yn ôl yr ystori, yn y fan hon, canys byddai Hafgan byw os cai ail ergyd, ond gwr mwyn yw Pwyll trwy'r ystori. Yn chwedl Branwen, ni fynnai Brân ladd Efnisien er ei ddryced, ac y mae hyd yn oed Efnisien ei hun yn tosturio wrth weled lladd milwyr ei wlad, ac yn gwneud iawn am ei fai drwy gymryd ei fwrw i'r pair dadeni, a thorri hwnnw a'i galon ei hun tan un. A Branwen, hithau, nid oes odid mewn llenyddiaeth ddim mwy teimladwy na'i geiriau olaf a hanes ei diwedd ar ôl cyrraedd Môn wedi'r dinistr mawr yn Iwerddon:—

"'Oia fab Duw!' heb hi, 'gwae fi o'm ganedigaeth! Ys da dwy ynys a ddiffeithiwyd o'm hachos i!' A dodi uchenaid fawr a thorri ei chalon ar hynny. A gwneuthur bedd petryal iddi, a'i chladdu yno yng nglan Alaw."

Pan ddodwyd yn gosb ar Riannon bod iddi gario ymwelwyr ar ei chefn i'r gaer, odid un a adawai iddi wneud hynny. Gwr mwyn hefyd oedd Manawyddan. Pan oedd ef a Phryderi yn gweithio fel crefftwyr yn Lloegr, a'r crefftwyr ereill yn cyfodi i'w herbyn, mynnai Pryderi a Chicfa "ladd y taeogeu," ond heddwch a ddewisai Manawyddan. At hynny, cymerer y disgrifiadau a geir yn y chwedlau hyn o dlysni merched, ac o foesau teg. Nid ydynt mor llawn â disgrifiadau'r rhamantau â dylanwad Ffrengig arnynt, ond y mae eu cynhildeb a'u symledd lawn mwy effeithiol. Pan ddaeth Pwyll o hyd i Riannon, ac iddi hithau dynnu'r llen oddiar ei hwyneb ac ymddiddan ag ef, gwelodd deced oedd hi. Ni cheisir disgrifio ei harddwch gyda manylder y rhamantau diweddarach, eithr dywedyd yn syml:—

"Ac yna, meddyliaw a wnaeth [Pwyll] bod yn ddifwyn ganthaw bryd a welsai erioed o forwyn a gwraig wrth ei phryd hi."

Ceir yr un symledd yn yr hanes am Fanawyddan a Rhiannon yn eu hoffi ei gilydd. Dywedasai Pryderi am ei fam, wrth ei chynnyg yn wraig i Fanawyddan:—"Mi a debygaf na wrandewaist erioed ar ymddiddanwraig well no hi. Yr amser y bu hithau yn ei dewredd, ni bu wraig delediwach no hi. Ac etwa [eto] ni byddi anfodlawn i phryd." Aeth y ddau i wledda ac ymddiddan â'i gilydd, ac fel hyn y dywed y chwedleuwr pa beth a ddigwyddodd o hynny:—

"Ac yna, dechreu cyd-eistedd ac

ymddiddan o Fanawyddan a Rhiannon. Ac o'r ymddiddan, tirioni a wnaeth ei fryd a'i feddwl wrthi, a hoffi yn ei feddwl na welsai erioed wraig ddigonach ei theced a'i theledíwed no hi."

Y mae eu moesau a'u hymadroddion hefyd yn rhai mirain. Nid oes ball arnynt am dermau bonheddig i'w cyfarch ei gilydd; danghosant i ni, ar eu goreu, fywyd teg ac arferion cwrtais. Dychmygant ddigwyddiadau, danghosant gymeriadau. Cymharer y pethau hyn â disgrifiadau cwta'r beirdd, a gwelir rhag blaen nad ydynt yn perthyn i'r un traddodiad llenyddol.

### (b) Y Chwedlau Arthuraidd Cymreig.

Wrth ymwneud â'r Pedair Cainc, gwelsom fel yr oedd y chwedleuwyr yn trawsffurfio'r hen chwedloneg, weithiau fwy ac weithiau lai, yn ol fel y byddai natur y cymeriadau a'r digwyddiadau yn caniatau hynny. Yn y chwedlau ereill, cawn fod y trawsffurfiad hwnnw yn tyfu. O ran natur y deunydd cyntefig, y mae yn chwedl Kulhwch ac Olwen lawer o bethau sydd yn ei chysylltu â'r Pedair Cainc, ond bod gwahaniaeth yn y modd y trinir y deunydd.

Yn fyr, cynnwys y chwedl hanes Kulhwch, fab Kilydd, fab Kelyddon Wledig, yn gorfod ar y rhwystrau oedd rhyngddo a chael Olwen, ferch Yspyddaden Penkawr, yn wraig iddo. Goleuddydd, ferch Anlawdd Wledig, oedd gwraig Kilydd. Collodd honno ei phwyll cyn geni ei mab, ac aeth ar grwydr; ond wedi ei eni, daeth hithau ati ei hun. Cafodd meichiaid y brenin hyd i'r mab yng ngwâl hwch, ac am hynny, medd y chwedl, y galwyd ef Kulhwch. Wrth farw, mynnodd Goleuddydd gan Kilydd addo nad ail briodai hyd oni welai ddraenen âg arni ddau flodeuyn ar ei bedd hi, a gofynnodd hithau i'w chyffeswr ofalu na thyfai dim arno. Ymhen y saith mlynedd, esgeulusodd y cyffeswr ei ddyledswydd, a thyfodd draenen ar y bedd. Cynghorwyd Kilydd i ladd Doged Frenin, a dwyn ei wraig. Hynny a wnaeth yntau. Daeth yr ail wraig wedi hynny i wybod fod gan y brenin fab eisoes, a mynnai ganddo briodi ei merch hithau. Gan nad oedd yntau fodlon i hynny, tynghedodd ei fam ynghyfraith ef na chai wraig fyth, oni chaffai Olwen, ferch Yspyddaden Penkawr. Clafychodd Kulhwch o gariad y forwyn yn y fan, er nas gwelodd erioed. Dywedodd yr hanes wrth ei dad. Cynghorodd yntau ef i fyned at ei ewythr, Arthur, fel y caffai hi. Disgrifir ef yn cyrchu llys Arthur ac yn ennill ei groeso yno. Ni wyddai neb yn y llys am Olwen na'i thad, ond rhydd Arthur wŷr i Gulhwch i'w cheisio. Chwilir am dani flwyddyn, yn ofer. Ail gychwynnir. Ceir hyd i gaer Yspyddaden, a gwelir Olwen. Rhoddir disgrifiad o honi sydd yn llawer manylach na'r disgrifiadau a geir yn y Pedair Cainc:—

"Dyfod a orug hithau. A chamse sidan fflamgoch amdani, a gwrdd-dorch ruddaur am fwnwgl y forwyn, a mererid gwerthfawr ynddi, a rhuddemau. Melynach oedd ei phen na blodau y banadl. Gwynnach oedd ei chnawd na distrych ton. Tegach oedd ei dwylaw a'i bysedd na chanawan godrwyth o blith man gaean ffynnon ffynhonws. Na golwg hebog mud, na golwg gwalch trimud, nid oedd olwg degach na'r eiddi. Gwynnach oedd ei dwyfron na bron alarch gwyn. Cochach oedd ei deurudd na'r ffion cochaf. Y sawl a'i gwelai, cyflawn fyddai o'i serch. Pedair meillonen gwynion a fyddai yn ei hol pa ffordd bynnag y delai. Ac am hynny y gelwid hi Olwen."

Barbaraidd iawn yw arferion Yspyddaden, yn ymyl y tegwch hwn o bryd a gwedd a gwisg, ond y mae gwŷr Arthur yn gyfartal âg ef o ran gerwindeb. Rhydd yntau yn y diwedd iddynt addewid y ceir Olwen, tan res o amodau rhyfeddol, yn cynnwys cael hyd i Fabon fab Modron, a hela'r Twrch Trwyth. Erbyn diwedd yr ail flwyddyn, yr ydys wedi cael rhai o'r gofynion, ac yna ymosodir ar chwilio am Fabon. Gelwir ef yn un o dri phrif garcharorion Ynys Brydain. Ceir hyd iddo drwy holi'r creaduriaid hynaf yn y wlad—Mwyalch Kilgwri, Carw Rhedynfre, Tylluan Cwm Cawlwyd, Eryr Gwernabwy, ac Eog Llyn Lliw,—y naill yn hŷn na'r llall, bob un yn ei dro. Yna, daw hela'r Twrch Trwyth, o'r Iwerddon i Gymru, ac o fan i fan yno drachefn. Dyma

brif ddigwyddiad y chwedl, ac y mae yn llawn o bethau rhyfeddol, ac yn ddiau yn hen iawn. O'r diwedd, ceir yr holl ofynion, lleddir Yspyddaden, a phriodir Kulhwch ac Olwen.

Gwelir bod Arthur yn llenwi lle mawr yn y chwedl hon. Yr un modd ym Mreuddwyd Rhonabwy. Edrydd y chwedl honno fod unwaith ddau frawd —Madog ac Iorwerth, meibion Maredudd, arglwydd Powys. Cenfigennai Iorwerth wrth Fadog, oblegid ei uchafiaeth. Er mwyn tawelu ei frawd, rhoes Madog iddo awdurdod ar ei dŷ, ei feirch a'i arfau ei hun. Ni thalai hynny gan Iorwerth, ac y mae'n dial ei lid trwy ddiffeithio'r wlad. Danfonir llu, dan ofal Rhonabwy, i ymlid Iorwerth. Ar y cyrch hwnnw, daw Rhonabwy, Cynwrig Coch a Chadwgan Fras i dŷ Heilyn Goch ap Cadwgan ab Iddon, lle truenus iawn, a ddisgrifir gyda chais amlwg at fod yn ddigrif neu wrthun. Cysgant yno, ac adroddir y breuddwyd a welodd Rhonabwy wrth gysgu ar groen dyniawed melyn. Yn y breuddwyd, gwelir Arthur a'i wŷr yn eistedd mewn ynys wastad, a dygir Rhonabwy a'i gyfeillion ger eu bron. Ymddengys mai pwynt yr ystori yw disgrifio gwychter a champ Arthur a'i farchogion. Gwneir hynny gydag ysblander lliwiau ardderchog, sydd yn gyferbyniad pendant â'r disgrifiad o salwder tŷ Heilyn Goch. Ond nid ar gyflawnder ei eiriau y dibynnai'r chwedleuwr yn unig. Ceir cynhildeb o'r radd flaenaf yn y dyfyniad hwn:—

"Ac yna dyfod o Iddawc ac wyntau y gyd ac ef rhag bron Arthur, a chyfarch gwell iddo. 'Duw a roddo da it' ebr Arthur. 'Pa du, Iddawc, y cefaist ti y dynion bychain hynny?' 'Mi a'u cefais, arglwydd, uchod ar y ffordd.' Sef a orug yr amherawdr, glas owenu. 'Arglwydd' eb Iddawc, 'beth a chwerddi di?' 'Iddawc,' ebr Arthur, 'nid chwerthin a wnaf, namyn truaned gennyf fod dynion cyfawed [cyn fawed —cyn saled] â hyn yn gwarchadw yr ynys hon, gwedi gwŷr cystal âg a'i gwarchedwis gynt.'."

Y mae'r ystori hon yn engrhaifft dda o waith chwedleuwr âg iddo amcan llenyddol. "A llyma yr achos," medd ei geiriau olaf, "na ŵyr neb y freiddwyd, na bardd na chyfarwydd, heb lyfr, o achos y gynifer lliw a oedd ar y meirch, a hynny o amrafael liw odidog, ac ar yr arfau ac eu cyweirdebau, ac ar y llennau gwerthfawr a'r main rhinweddawl."

Yn gryno, rhydd y dyfyniad uchod ynghylch Arthur a'r "dynion bychain" ini syniad lled gywir am ei gymeriad ef yn y ddwy chwedl. Ni chyfetyb yn hollol, ar y naill law, i gymeriadau chwedlonol y Pedair Cainc; ni thebyga yn llwyr, ar y llaw arall, i Arthur y rhamantau Ffrengig. Yng ngwaith Nennius, a ysgrifennwyd yn yr wythfed ganrif, ymddengys Arthur fel cymeriad hanesyddol, yn ymladd mewn deuddeg brwydr. Yn y ddeuddegfed ganrif edrychai pobl Cernyw arno fel arweinydd y Celtiaid, ac ni chredent ei fod wedi marw. Yn y rhamantau Ffrengig, cawn ef yn bennaeth byd rhamant a sifalri, heb sicrwydd am derfynau a daearyddiaeth ei wlad. Yn y ddwy chwedl hyn, nid yw na'r naill na'r llall. Y mae ei awdurdod a'i allu yn sicr. Tebyga'r disgrifiadau o urddas ac anrhydedd ei lys a'i arferion i'r rhamantau Ffrengig. Ato ef yr aeth Kulhwch i ymofyn cymorth i ennill Olwen, a chaffai yntau yno yr hyn a ofynnai. Eto, y mae ei wlad yn adnabyddus, a gellir olrhain helfa'r Twrch Trwyth o le i le. Arwr Prydain yw Arthur, nid pennaeth gwlad niwlog o ddychymig rhamant. Er hynny, dygir i mewn i'w osgordd gymeriadau chwedlonol, megis teuluoedd Don a Llyr, yn gymysg a chymdeithion Arthur hanesyddol y chweched ganrif, Sacsoniaid, Daniaid, Normaniaid, mab brenin Ffrainc, ac hyd yn oed Conchobor fab Ness, un o arwyr chwedlonol y Gwyddyl. Y mae yn anodd meddwl nad oes peth o ddylanwad y rhamantau Ffrengig ar ystori Kulhwch, ac nad oes gan y rhai sy'n dal mai o Lydaw y daeth y chwedlau am Arthur dir da dan eu traed. Eto, ni cheir yn chwedl Kulhwch ddim sôn am arwyr diweddarach y rhamantau Arthuraidd, megis Lancelot, Galahad, Bors, Saigremore, ac ereill, er bod y chwedleuwr, fel y mae'n berffaith eglur, yn tynnu cynifer âg a allai o enwau i mewn i'w rwyd, ac hyd yn oed yn dychmygu rhai. Cymerer enwau y gwŷr a dynghedodd Kulhwch i'w gynorthwyo

i chwilio am Olwen yn engrhaifft o hynny. Y mae'n nodedig hefyd, fel y sylwodd Alfred Nutt, gymaint y sydd yn chwedlau Kulhwch a Rhonabwy yn eu cysylltu o ran nodwedd â'r chwedlau Gwyddelig.

"We possess," medd Mr. Nutt [" The Mabinogion," London: D. Nutt, 1902], "a considerable number of Irish romantic sagas, notably the 'Destruction of Da Derga's Hostel,' the 'Drunken Foray of the Ulstermen,' 'Bricriu's Feast,' which betray the same characteristics as the two Welsh tales: fondness for enumeration, triadic grouping, bravura descriptive passages, and, notably in 'Bricriu's Feast,' a distinct semi-parodistic tone. All these are, in their present form, products of the elevnth century at the very latest, and probably were redacted substantially as we have them in the tenth century. We have also later tales (twelfth and thirteenth centuries), in which we find such traits as the giant stature of the old-time heroes and their wonder at latter-day degeneracy, and finally a masterpiece of parody, 'MacConglinne's Vision,' in which all the elements I have indicated are exaggerated with such rollicking exuberance and such artistic skill as to yield the finest specimen in all literature of Rabelaisian humour before the greatest prose-writer of France produced Pantagruel."

Gellid ychwanegu bod perthynas y fam a'r mab ynghyfraith hefyd yn bwnc cyffredin yn y chwedlau Gwyddelig; bod rhai o'r cyffelybiaethau yn nisgrifiad Olwen, a ddyfynnwyd eisoes, i'w cael mewn chwedlau Gwyddeleg; ac mai gair Gwyddeleg yw "canawan" (ceanabhán—bog-down, cotton-down), a geir yn yr un disgrifiad. Y mae Mr. Nutt yn crybwyll bod Gruffydd ap Cynan wedi treulio ei ieuenctid yn Iwerddon, ac mai milwyr oddiyno oedd ganddo yn ennill Gwynedd. "It is almost certain," meddai, "that he would welcome representatives of the great Irish school of imaginative prose." Er mai diweddar yw'r copiau hysbys o'r peth a elwir "Ystatud Gruffudd ap Cynan," yn rheoli cerdd dafod a cherdd dant, nid oes amheuaeth nad yw'n seiliedig ar waith Gruffudd yn dwyn gwŷr wrth gerdd i'w ganlyn o'r Iwerddon. Credaf, felly, fod Mr. Nutt yn ei le wrth dybio fod dylanwad Gwyddelig ar chwedlau Kulhwch a Rhonabwy, ond bod hela'r Twrch Trwyth a hanes brain Owain yn llawer hŷn na'r adeg yr ysgrifennwyd y chwedlau. Am "Freuddwyd Rhonabwy," y mae Madawg ac Iorwerth, meibion Maredudd, a ddygir i mewn ar y dechreu, yn gymeriadau hanesyddol. Bu'r naill farw yn 1159 a'r llall yn 1165. Tebyg felly ddarfod ysgrifennu'r ystori tua'r adeg honno.

Os o Lydaw y daeth y traddodiadau am Arthur, gallasai enwogrwydd ei enw gyrraedd i Gymru cyn bod manylion y rhamantau Ffrengig yn ddigon hysbys i liwio'r chwedlau Cymreig; ac ni byddai'r dyb mai hynny a ddigwyddodd ymhell oddiwrth egluro paham y mae'r ddwy chwedl yr ydym yn sôn am danynt yn gwahaniaethu oddiwrth y Pedair Cainc ar un tu ac oddiwrth y rhamantau Ffrengig ar y llall.

**(c) Chwedlau Hanes Rhamantaidd.**

Ym "Mreuddwyd Maxen" a "Chyfranc Lludd a Llevelys," cawn, ond odid, ol dylanwad arall a datblygiad gwahanol ar ddeunydd cyffelyb i beth o gynnwys y Pedair Cainc a rhannau o Gulhwch ac Olwen. Tebyga'r ddwy chwedl hyn i bethau a geir yn hanes rhamantaidd Sieffre o Fynwy. Cynnwys "Breuddwyd Maxen" yw hanes Maxen, ymherawdr Rhufain, yn breuddwydio gweled caer odidog ar lan afon, ac yn eistedd yn y gaer, y rhiain decaf a welodd erioed. Denfyn genhadon i chwilio am y gaer. Teithiant hwythau hyd Gaer Saint yn Arfon, a gwelant y forwyn, fel y gwelsai'r ymherawdr hi drwy ei hun. Gwahoddant hi i Rufain. Etyb hithau mai gwell i Faxen ddyfod yno i'w gweled hi. Daw yntau, ac ennill yr ynys oddiar Beli fab Mynogan a'i feibion. Priodir Maxen ac Elen. Yng ngwrthgefn Maxen, cyfyd Rhufain yn erbyn ei awdurdod. Dychwel yntau yno i amddiffyn ei hawl. Gwarchaeir Rhufain am saith mlynedd heb allu ei threchu. Yna, daw brodyr Elen yno, a'i darostwng i Faxen yn rhwydd.

Cynnwys "Cyfranc Lludd a Llevelys" yw'r modd y gwaredwyd tair gormes oddiar ynys Brydain, yn amser brenin a elwir Lludd fab Beli. Y tair

gormes oedd cenedl y Coraniaid, nad ellid cadw cyfrinach rhagddynt; diasbad a glywid bob Calanmai, ac a yrrai arswyd a difrod ar bawb; a dwyn mewn un noswaith bob darpariaeth o lys y brenin, pa faint bynnag a fyddai yno. Aeth Lludd i ymofyn â'i frawd, Llevelys, yn Ffrainc, pa fodd y gwaredid y tair gormes. Rhoes hwnnw ryw bryfed iddo i'w briwo a'u cymysgu â dwfr, a thrwy daenellu'r dwfr ar bawb, lladdwyd y Coraniaid. Eglurodd Llevelys hefyd mai dwy ddraig yn ymladd â'i gilydd oedd yn achosi'r ddiasbad; ac mai drwy gloddio pwll ynghanol yr ynys, gosod cerwyn yn y pwll a'i llenwi â medd, a dodi llen o bali ar ei hwyneb, y delid hwy. Gwnaed hynny. Syrthiodd y dreigiau i'r gerwyn; yfasant y medd a chysgasant; yna, rhwymwyd y llen am danynt, a'u claddu mewn cist faen yn y lle cadarnaf a wyddid, sef Dinas Emrys. Yna, caed heddwch. Am golli'r bwydydd o'r llys, dywedodd Llevelys mai dewin grymus oedd yn eu dwyn, a chynghorwyd Lludd i wylio'r nos, a chael dwfr oer wrth law i'w gadw yn effro drwy fyned iddo pan ddeuai gwsg arno. Gwnaeth felly; daliodd a threchodd y dewin, a chafwyd gwared o'r tair gormes.

Cyffelyb y chwedlau hyn, o ran natur, i lawer o ddeunydd Sieffre, ac y mae eu bod ar gael yn awgrymu mai o draddodiadau tebyg y lluniodd yntau ei "Hanes," ac nid o'i ddychymig ei hun. Diau fod atgof am enwogrwydd Rhufain, a'r cyrchu a fyddai yno gynt, ym "Mreuddwyd Maxen," fel yr awgrymodd Mr. Nutt. Yn chwedl Lludd a Llevelys, cawn yr hud a'r lledrith sydd yn nodwedd eilraddol ar gymeriadau'r Pedair Cainc, ond nid oes ar y cymeriadau yn y naill chwedl na'r llall unrhyw gynneddf yn eu cysylltu â'r haen chwedlonol.

### (d) Rhamantau a Dylanwad Ffrengig Arnynt.

Pa faint bynnag o seiliau'r rhamantau ag ôl dylanwad Ffrengig arnynt a allai fod yn Gymreig, a'u cymryd fel y maent, ni ddaliant gymhariaeth â'r Pedair Cainc a'r chwedlau ereill y soniwyd eisoes am danynt. Y maent yn llawer tebycach i'w gilydd. Rhydd y crynhodeb isod o gynnwys ystori "Iarlles y Ffynnon" syniad am gynnwys a dull y tair chwedl:—

Egyr yr ystori yng Nghaerlleon ar Wysg, lle y mae Arthur, Owain fab Urien, Cynon fab Clydno, Cai fab Cyner, a Gwenhwyfar gyda'i gilydd. Yn lle adrodd chwedl ei hun, cais Owain gan Gynon ddywedyd ei hanes yn gyntaf. Edrydd Cynon yntau fel yr aeth i wledydd tramor, ac y daeth i ddyffryn hardd a chastell ynddo. Cafodd groeso yn y Castell a chyfarwyddyd pa fodd i gyfarfod âg anturiaethau, yn ôl ei awydd. Aeth ymaith drannoeth, ac fel y dywedwyd wrtho, daeth at bren a ffynnon tano. Yno, gwelodd farchog mewn gwisg ddu yn dyfod tuag ato. Gorfu hwnnw ef i ddisgyn o'r cyfrwy, a dug ei farch oddiarno. Dychwelodd yntau yn ei gywilydd i'r Castell, a chafodd farch i fyned oddiyno drannoeth. Wedi clywed yr hanes hwn, diflannodd Owain o lys Arthur i chwilio am y ffynnon. Cyrhaeddodd y dyffryn, a digwyddodd yr un pethau iddo ag a ddaethai i ran Cynon; ond rhoes Owain ergyd angeuol i'r marchog du. Gwelodd gaer wedi hynny. Aeth i mewn. Caeodd y drws ar ei farch, nes ei dorri'n ddeuddarn. Daeth morwyn a'i henw Luned at y drws, ac wedi ymddiddan âg Owain, addawodd wneud ei goreu erddo. Rhoddes iddo fodrwy a'i gwnai'n anweledig. Drannoeth, gwelodd Owain angladd y marchog a glwyfasai, ac Iarlles y Ffynnon yn cerdded gyda'r dorf. Carodd hi pan welodd hi gyntaf. Anogodd Luned yr Iarlles i gael marchog i amddiffyn y ffynnon yn lle'r gŵr a laddwyd. Derbyniodd hithau'r cyngor o'r diwedd. Ni thalai neb at y gwaith ond un o deulu Arthur. Cymerth Luned arni fyned i lys Arthur i chwilio am un, ond treuliodd yr amser gydag Owain, ac yna dywedodd wrth yr Iarlles fod ganddi farchog i gadw'r ffynnon. Priodwyd Owain a Luned, a thrigodd Owain yn y llys dair blynedd. Yna, aeth Arthur a'i wŷr i chwilio am Owain, ac wedi ymladd âg ef wrth y ffynnon, adnabu Gwalchmai ef. Wedi gwledda dridiau, cafodd Owain fyned i Brydain am dri mis, ond arhosodd dair blynedd. Un diwrnod, daeth merch i lys Arthur, a chipiodd y fodrwy oddi ar Owain, gan ei alw yn fradwr. Aeth yntau i grwydro hyd eithafoedd y byd, yn ddrwg iawn ei lun.

Gofelir am dano yn ei drueni o'r diwedd yng nghastell gwraig weddw. Dygasai rhyw iarll eiddo honno oddi arni. Ymladdodd Owain âg ef, a'i drechu, fel y bu raid iddo yntau adfer ei heiddo i'r weddw. Yna, aeth Owain ymlaen, a daeth i goed, lle clywodd dair diasbad. Gwelodd yno sarff a llew yn ymdrechu â'i gilydd. Lladdodd y sarff, a chanlynodd y llew ef. Cafodd yntau mai Luned oedd yn llefain yn y coed, a darfod ei charcharu, a'i bod i'w llosgi ymhen deuddydd, am amddiffyn ei enw da ef yn ei gefn. Aeth Owain i ryw gastell i letya, a thrwy gymorth y llew, lladdodd ryw anghenfil oedd yn blino'r iarll a drigai yno. Wedi hynny, achubodd Luned rhag ei bwrw i'r tân, ac yn y diwedd, aeth â hi i lys Arthur, a phriododd hi.

Tebyg iawn o ran natur y digwyddiadau yw cynnwys chwedlau Geraint ac Enid a Pheredur fab Efrawc, ond bod yr ymladdau a'r marchogion a'r cewri, os yr un, yn amlach ac anferthach nag yma. Er bod gweithredoedd y marchogion yn fynych yn rhai amhosibl i ddynion eu gwneuthur, eto, ni pherthynant i'r un dosbarth â gweithredoedd cymeriadau chwedlonol y Pedair Cainc, nag ychwaith i'r hud a'r lledrith sydd o gwmpas Arthur yn chwedlau Kulhwch a Rhonabwy. Nid yw'r cewri sydd yn y rhamantau hyn yn cyfranogi o natur yr hen chwedloneg ychwaith. Nid oes iddynt bersonoliaeth fel y sydd i Fran, er engrhaifft; nid ydynt ond awgrymiadau anelwig. Etyb y cymeriadau yn hynny o beth i ddaearyddiaeth ansicr a niwlog y rhamantau. Un o'r profion sicraf o hynafiaeth y Pedair Cainc, yn gystal â sylwedd y chwedlau ereill, yw'r gwahaniaeth hwn rhyngddynt â'r rhamantau Ffrangaidd. Gwir nad yw'r rhamantau hyn heb ddisgrifiadau tlysion, megis hwnnw o chwedl Peredur, lle disgrifir yr olwg a welodd y marchog ryw fore, wedi cysgu'r nos yng nghuddigl y meudwy:—

"Trannoeth y bore, ef a gyfodes oddyno. A phan ddaeth allan, ydoedd gawad o eiry gwedi ry odi y nos gynt, a gwalch wyllt wedi lladd hwyad yn nhâl y cuddigl. A chan dwrf y march, ciliaw o'r walch, a disgyn brân ar gig yr ederyn. Sef a orug Peredur, sefyll a chyffelybu dued y frân, a gwynder yr eiry, a choched y gwaed, i wallt y wraig fwyaf a garai, a oedd cyn ddued â'r muchudd; a'i chnawd, oedd cyn wynned a'r eiry; a chochter y gwaed yn yr eiry i'r ddeufan gochion oedd yn ei gruddiau."

Nid yw'r rhamantau ychwaith heb gymeriadau syml a hoffus, megis Luned ac Enid. Disgrifir eiddigedd mab a ffyddlondeb merch yn effeithiol yn chwedl Geraint. Wedi priodi Enid, y mae Geraint yn rhoi'r goreu i'w orchestion milwrol, ac yn cael anglod o'r herwydd. Wrth weled hynny, a meddwl mai o'i phlegid hi y collai ei glod, wyla Enid; syrth ei dagrau ar ei fynwes gan ei ddeffro o'i gwsg. Tybia Geraint mai am ei bod hi yn caru rhywun arall yr oedd yn wylo, ac yn ei eiddigedd, cymer hi i'w ganlyn ar daith, gan beri iddi farchogaeth o'i flaen, a pheidio â siarad gair âg ef. Eilwaith a thrachefn y mae hithau yn ei rybuddio o'i berigl. Un tro, daw pedwar marchog o'r coed i'w cyfarfod, a chlyw Enid eu hymddiddan. Adroddir yr hanes yn syml ac effeithiol:—

"Ac yn dyfod o'r coed allan y gwelynt bedwar marchog arfog. Ac edrych a orugant arnynt, a dywedyd a orug un o honynt. 'Llyma le da i ni,' eb ef, 'i gymryd y ddeufarch raco a'r arfau a'r wraig hefyd, a hynny a gaffwn yn segur, er yr un marchog pendrwm, go-athrist raco, llibin.' A'r ymddiddan hwnnw a gigleu [a glywodd] Enid. Ac ni wyddiad hithau beth a wnai rhag ofn Geraint, ai dywedyd hynny ai tewi. 'Dial Duw arnaf,' eb hi, 'onid dewisach gennyf fy angeu o'i law ef nag o law neb; a chyd ymladdo â mi, mi a'i dywedaf iddo, rhag gweled angeu arno ef yn ddyfryd.'"

Felly, drwy'r ystori, disgrifir tristwch a dioddefaint Enid yn gynnil a medrus. Y mae camp hefyd ar y cyferbyniad rhwng tymer afrywiog Cai a mwynder bonheddig Gwalchmai.

Os cyfieithadau yw'r rhamantau Cymraeg, fel y mynnai rhai, nid o waith Chrétien de Troyes y cyfieithwyd hwy, beth bynnag; ac os o'i gerddi ef y cymhwyswyd hwy, yna yr oedd y cymhwyswyr yn llawer amgenach chwedleuwyr nag ef, gan eu bod wedi gadael allan gymaint o'i droadau dianghenraid, ei anghysonderau, a'i ail-adroddiadau. Y tebyg yw fod Chrétien a'r awduron Cymreig, fel y credai Gaston Paris, yn benthyca o waith chwedleuwyr Anglo-

Normanaidd, a bod y Cymry hefyd yn defnyddio manylion o'r hen draddodiadau cartref, a laddwyd yn y diwedd gan y gwaith newydd. Pa wedd bynnag, nid oes amheuaeth gan bwy yr oedd y grefft oreu.

### (e) Hanes Taliesin.

Nid oes gopi cynharach na diwedd yr unfed ganrif ar bymtheg ar gael, hyd y gwyddis, o'r chwedl hon, ac y mae'r rhan sydd mewn iaith rydd, o leiaf, yn dangos ynddi ei hun ei bod yn llawer diweddarach na'r chwedlau a'r rhamantau ereill. Cynnwys yr "Hanes" fel y mae yw bod Ceridwen yn "berwi pair o awen a gwybodau" i'w mab, Afagddu, er mwyn bod arno ryw gamp, rhag hagred ydoedd. Dodes Wion Bach i edrych ar ol y pair. Disgynnodd tri defnyn rhinweddol o'r drwyth ar fys Gwion, a thrwy iddo yntau ddodi ei fys yn ei enau, trosglwyddwyd yr awen iddo ef. Ymlidiodd Ceridwen ar ei ôl. Ymrithiodd yntau yn wahanol greaduriaid, a hithau o hyd yn ymrithio i'w ganlyn, nes o'r diwedd ei ddal pan oedd ef yn rhith gronyn gwenith, a hithau yn rhith iâr. Wedi ei bod hi naw mis yn feichiog arno, ac esgor o honi, ni allai hi ar ei chalon ei ladd, rhag mor deg ydoedd. Dododd ef mewn croen a'i fwrw i'r môr. Cafodd Elffin ap Gwyddno hyd iddo, a'i feithrin, a dug yntau gyfoeth ac anrhydedd i Elffin trwy ymryson â'r beirdd a'u trechu yn llys Maelgwn Gwynedd. Diau fod gwreiddyn y chwedl yn hen, canys y mae'r cerddi a briodolir i Daliesin yn cyfeirio at ddigwyddiadau tebyg i'r rhai a edrydd yr ystori. At hynny, ceir trawsffurfiadau cyffelyb mewn chwedlau Gwyddelig a Llydewig. Y tebyg yw fod rhywun yn y bymthegfed neu'r unfed ganrif ar bymtheg wedi llunio'r chwedl hon, fel y mae, gyda'r amcan o fawrhau swydd y bardd.

Ni ellir yn yr ysgrifau hyn roddi mwy na rhyw grynhodeb fel hyn o gynnwys y chwedlau a'r rhamantau, ac awgrymu eu tarddiad a'u twf. Y mae eu gwreiddiau yn ddiameu yn cyrraedd ymhell yn ol, i'r cyfnod pryd yr oedd y bobloedd Geltaidd yn un; a rhydd eu manylion ini beth o hanes hen dduwiau ein hynafiaid. Safant rhwng byd cyntefig, rhyfeddol, hen lenyddiaeth odidog y Gwyddyl â byd mwy cynefin caer a chastell y rhamantau Ffrengig. Collasant beth o ragoriaeth cyntefig y chwedlau Gwyddelig; llaryeiddiwyd eu helfennau gerwinaf gan foes Cristionogaeth; ni cheir ynddynt odid ddim o greulondeb gwaedlyd y chwedlau Gogleddig; gwrthodasant wendidau celfyddyd y rhamantau Ffrengig. Hyny, yn ddiau, a barodd eu llwyddiant. Ni chynhyrchodd y Cymry ddim cystal â hwy, ar bob ystyriaeth. Danghosant fireinder moes ac urddas arferion bonheddig. Y mae ôl diwylliant ar eu hiaith, a medr ar eu celfyddyd. Blodeuasant cyn colli o'n hynafiaid eu hanibyniaeth. Yna daeth y cwymp a'r ormes. Daeth dylanwadau ereill, a mwy nag un gelfyddyd newydd. Ond collwyd y cawg aur a roes win Rhamant i wledydd Cred.

## DAFYDD AP GWILYM.

### (a). Dylanwadau Allanol.

Gwelsom, wrth sôn am y Rhamantau, fel yr aeth traddodiadau Cymru ar led, ac fel y daeth dylanwad estron i mewn i'w bywyd a'i llenyddiaeth hithau, trwy ddyfod y Normaniaid; ac wrth astudio gweithiau Beirdd y Tywysogion, gwelsom fel yr oedd geiriau a syniadau'r chwedlau yn dechreu lliwio eu cerddi hwythau erbyn y bedwaredd ganrif ar ddeg. Pan ddarfu am hen wareiddiad Groeg a Rhufain, o flaen y barbariaid, daeth adeg ddu ar Ewrop. Rhoed diben ar hen ddiwylliant Groeg, ei barddoniaeth, ei hathroniaeth, a'i chelfyddyd odidog, ac ar gyfreithiau a gwleidiadaeth Rhufain hithau. Nid yw'r clasuron, fel yr adwaenom ni, ond darnau a ddihangodd rhag y difrod. Y mae ardderchocach gweithiau celfyddyd yn Rhufain nag y sydd mewn unrhyw dref ar y ddaear heddyw. Oddieithr mewn dyfeisiau ymarferol, nid ydym odid cystal â Groeg eto. Cyfreithiau Rhufain yw ein patrwm o hyd. Dysgu Groeg a Lladin yw'r goreu o'n moddion addysg fyth. Wedi darfod am yr hen ddiwylliant, bu raid, megis, ddechreu yn y pen eilwaith. Daeth Cristionogaeth yn lle'r hen grefyddau. Parhaodd yr ymdrech rhyngddynt yn hir. Chwalodd yr hen Ymherodraeth Rufeinig, ond daeth Rhufain eto yn

ben dinas gwledydd Cred. Dechreuodd ymdrech y Pabau; tyfodd y trefi; datblygodd y crefftau; daeth arian treigl yn ddull cyfoeth yn lle tiroedd a da byw; magwyd hawliau pobloedd a dosbarthiadau; bu ymladd drostynt; gosodwyd seiliau cymdeithas fel y mae heddyw. Casglwyd cyfoeth; dechreuodd dysg. Trwy ymdrechion yr Eglwys, cyfodwyd Prifysgolion yn yr unfed ganrif ar ddeg a'r ddeuddegfed, yn Salerno, Bologna, Paris. Yn yr ysgolion hynny, ceisiwyd cysoni Rhesymeg âg athrawiaethau crefydd. Tarddodd Ysgolheigiaeth — dechreuad gwyddor ddiweddar. Aeth yr Eglwys yn gyfoethog, ac yr oedd ei hiau yn drom ar ddynion. Cyfodasai yr Urddau mynachaidd cyn y ddeuddegfed ganrif, a chawsant ddylanwad mawr, hyd nes eu myned hwythau'n oludog, a dyrchafu o'r beirdd yn eu herbyn. Dechreuodd ymryson y bardd a'r offeiriad. Yn Lladin yr oedd llenyddiaeth yr Oesau Canol, oddigerth ymhlith y cenhedloedd "barbaraidd," megis y Gwyddyl, rhai o'r bobloedd ogleddig, a'r Cymry i ryw fesur. Yn y ddeuddegfed ganrif a'r drydedd ar ddeg, dechreuodd yr ieithoedd diweddar dyfu, a throes y beirdd i ganu ynddynt gerddi serch ysgafn a thlws. Caeth, neu degan dyn oedd merch yn yr oesau tywyll. Collesid duwiesau yr hen Baganiaeth. Rhoed Mair yn eu lle. Aeth Crist, dan ddwylo'r diwinyddion, ymhell oddiwrth feibion dynion, ond yr oedd Mair yn agos a dynol. Tarddodd chwedlau, fel y "Transitus Mariæ," emynau fel y "Stabat Mater," ac awdlau i Fair, fel eiddo Gruffudd ap Maredudd yn Gymraeg—

Seren yw hi,
Nod goleuni,
  Nid gelynol;
Lloer engylion
A gweryddon,
  Aig wareddawl;
Mam tangnefedd
A thrugaredd,
  Iaith ragorawl;
Teml i'r Mab Rhad,
Neuadd gariad
  Nawdd ag eiriawl."

Rhyddhawyd llawer ar gyflwr merch trwy addoli Mair. Yr oedd ofn uffern ar bobl—nid heb achos yn aml. Ysgrifennwyd gweledigaethau a cherddi yn ei disgrifio. Gwelsom fel yr ofnai'r hen feirdd Cymreig rhagddi, tua diwedd eu bywydau gwylltion, cynhyrfus. Yn erbyn y syniadau hyn, yn erbyn rhyfeloedd dibaid y Pabau a'r brenhinoedd, cyfododd ymdrech; dechreuodd cyfraith dyfu o'r anrhefn, ac o hynny, daeth deffroad llenyddol. Dechreuwyd astudio'r hen glasuron; cafodd Plato ei le mewn ffilosoffi, dymchwelwyd athroniaeth yr Ysgolheigion, ac o'r diwedd, dysgwyd astudio meddwl dyn wrth ddeddfau naturiol yn hytrach nag wrth synnwyr bawd. Ond hir fu'r dysgu, ac nis gorffennwyd eto. Sonnir am flodeuad y twf hwn fel "Y Dadeni," ac yn gyffredin cyfeirir ato fel peth a ddigwyddodd yn bennaf yn yr unfed ganrif ar bymtheg. Rhydd ereill ei ddechreuad nodedig yn 1453, pan feddiannwyd Caer Gystennyn gan Mohammed II. Ond yr oedd y dylanwadau a barodd y Dadeni ar waith cyn hynny. Y peth a wnaeth goruchafiaeth Mohammed oedd gyrru ysgolheigion Groeg i Ewrop, a deffro hoffter at ddysg glasurol yno, yn enwedig yn yr Eidal. Mewn gwirionedd hedyn neu gnewyllun yr hen wareiddiad Groegaidd a Rhufeinig oedd wrth wraidd y Dadeni, ac effaith Cristionogaeth ar hwnnw.

Yn y ddeuddegfed ganrif a'r drydedd a'r ddeg y dechreuodd beirdd Provence ganu gyntaf yn iaith y wlad—Lladin y bobl gyffredin, iaith lefn felys. Dilynwyd hwy gan feirdd Ffrainc a'r Eidal. Daeth dylanwad y Dwyrain arnynt trwy'r Sarasiniaid, a chanent ramant bywyd a thlysni natur, rhyfeloedd, anturiaethau, cariad. "Troubadours" y gelwid y beirdd hyn yn Provence, "Trovatori" yn yr Eidal, a "Trouvères" yn Ffrainc. Yr un peth oedd eu traddodiad i gyd. Ymledodd eu dylanwad ymhell, ac yn ei dro, daeth i Gymru.

### (b). Y Traddodiad Cymreig.

Fel y gwelsom wrth astudio gwaith Beirdd y Tywysogion a'r Rhamantau, yr oedd yng Nghymru draddodiad llenyddol eisoes. Dywed ysgrifenwyr clasurol fod beirdd ymhlith yr hen bobloedd Geltaidd, ac edrydd Diodorus eu bod yn clodfori ac yn melltithio—dau

brif ganu'r Cymry oesau wedi hynny, beth bynnag. Ceir llawer am safle a dyledswydd y beirdd yng Nghyfreithiau Hywel Dda, ac yr oedd yn ei adeg ef fwy nag un dosbarth o honynt. Yn ol "Dosbarth Edern Dafod Aur," a ysgrifennwyd fel y mae rywbryd yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, cawn fod tri dosbarth o feirdd, sef (1) Beirdd pencerddaidd; (2) Teuluwyr; (3) Clerwyr. Canu mawl a marwnad, a choffhau gweithredoedd gorchestol oedd dyled y Beirdd pencerddaidd. Canai y Teuluwyr gerddi serch. Nid oedd wiw i'r Clerwyr wneuthur dim ond ymsennu a duchanu. Gwelsom eisoes pa beth oedd torreth deunydd cerddi'r beirdd hyd tua dechreu'r bedwaredd ganrif ar ddeg. Tylwythol oedd y deunydd hwnnw yn y ddau gyfnod cyntaf; canu i'r Brenin, y Tywysog, a'r Pennaeth yr oedd y beirdd, a phynciau o bwys a dyddordeb i'r genedl neu'r llwyth oedd eu testunau; llawenydd a galar y llwyth a'r genedl oedd eu llawenydd a'u galar hwythau. Gyda'r Rhamantau, daeth dylanwadau newyddion i mewn. Nid nad oedd yr hen deimlad tylwythol yno. Ef, yn wir, oedd y deunydd oddi tan y cwbl. Ond ymglymai syniadau newyddion o gwmpas hen enwau, ac aent yn gymysg â hen draddodiadau. Tra'r oedd llenorion y De yn ysgrifennu chwedlau, yr oedd beirdd y Gogledd yn dal i ganu ar yr hen fesurau, yn yr hen ddull. Ond yr oedd amser newydd yn agoshau, ac o'r De, yn ôl pob tebyg, y daeth y gân newydd. Awdur y gân honno oedd Dafydd ap Gwilym.

### (c). Hanes Dafydd ap Gwilym.

Nid oes hyd yma sicrwydd ond am y nesaf peth i ddim o hanes Dafydd ap Gwilym, er maint a fu ei glod yng Nghymru ar hyd yr oesau. Dywed Pughe ("Barddoniaeth Dafydd ap Gwilym," Llundain, 1789), bod yn debyg ei eni o leiaf cyn gynared â 1340, ac nad oes amheuaeth na bu farw tua 1400. Seiliai ei dyb ar y pethau hyn: —Bod Dafydd wedi canu awdl i Hywel ap Tudur, deon Bangor rhwng 1359 a 1370; ei fod yn sôn mewn cywydd arall am Rys Gwgan, a aeth gydag Edward III. yn gapten ar drichant o Gymry i Ffrainc, ac na allasai Dafydd fod yn ddigon hen i ganu'r cywydd hwnnw cyn adeg dechreu'r olaf o ryfeloedd Edward III. yn Ffrainc, sef 1369; bod Iolo Goch wedi canu marwnad Dafydd, yn ol pob tebyg, cyn dechreu Rhyfel Owain Glyn Dwr, ac y buasai Dafydd yn debyg o fod wedi canu i Owain pe buasai fyw adeg y rhyfel. Os Dafydd a ganodd yr awdl a'r cywydd a nodwyd, y mae casgliadau Pughe yn debyg o fod yn safadwy. Ar y llaw arall, dywed Dr. Davies ["Antiquæ Linguæ Britannicæ, &c."], a hen awduron ereill, bod Dafydd yn blodeuo tua 1400. Edrydd Pughe y traddodiad bod Dafydd yn gefnder i Ifor Hael. Cafodd Mr. J. H. Davies, Cwrt Mawr, allan fod mam Ifor Hael yn ddibriod yn 1331, ac na anwyd Ifor cyn 1334. Ond nid ymddengys fod dim i brofi fod Ifor yn ewythr i Ddafydd.

Ganed Dafydd, medd Pughe, ym Mro Gynin, ym mhlwyf Llanbadarn Fawr, sir Aberteifi, a mab ydoedd i Wilym Gam, disgynnydd o Lywarch ap Bran, un o Bymtheg Llwyth Gwynedd. Ardudful, chwaer Llywelyn ap Gwilym Fychan o Emlyn, oedd ei fam. Y mae'n wir bod Dafydd yn galw Llywelyn ap Gwilym yn ewythr, ac yn ei alw ei hunan yn nai iddo yntau, fel y mae'n debyg mai nid noddwr yn unig a feddyliai wrth "ewythr." Dywed traddodiad bod teulu Ardudful yn erbyn iddi briodi Gwilym Gam, ac mai ar ochr y ffordd, ar ol ei throi oddi cartref, y ganed Dafydd. Cymodwyd hwy, medd Pughe, a meithrinwyd Dafydd gan ei ewythr, Llywelyn ap Gwilym. Dychwelodd at ei rieni pan oedd tua phymtheg oed, ond methodd â dygymod â hwy, ac aeth at Ifor Hael i Faesaleg. Yno, gwnawd ef yn athro i ferch Ifor ac yn "faer ei dda," sef yn oruchwyliwr iddo. Aeth yr athro a'r ferch i garu, a danfonwyd hithau i leiandy ym Môn. Aeth Dafydd ar ei hol, ond siwrnai seithug a fu, a dychwelodd yntau i Ddeheubarth, lle cafodd groeso eilwaith gan Ifor. Lladdwyd ei ewythr Llywelyn ap Gwilym, gan lofrudd, a chanodd yntau farwnad iddo. Bu Ifor a'i wraig, Nest, hefyd feirw o'i flaen, a chanodd farwnad iddynt hwythau. Ymhlith ei gyfeillion ereill, yr oedd Ieuan o Fôn, Ieuan Llwyd o Fuallt a'i wraig Angharad; Rhydderch ab

Ieuan Llwyd, Gogerddan; Gruffydd ab Adda ap Dafydd, bardd, a laddwyd yn Nolgellau, o gylch 1390, meddir; Rhys ap Tudur, telynor; Madog Benfras a Gruffydd Gryg, beirdd. Bu ymryson rhyngddo â Gruffydd Gryg, ond cymodwyd hwy drwy i rywun ddywedyd wrth y naill bod y llall wedi marw ac iddynt hwythau ganu marwnad bob un i'w gilydd. Canodd Dafydd hefyd farwnad i Fadog Benfras, wedi clywed "chwedl anwir" am ei farw, ond os gellir credu'r teitlau, bu Madog a Gruffydd Gryg fyw i alaru o ddifrif am Ddafydd. Crybwyllir Rhys Meigen fel gelyn iddo, a dywedir bod hwnnw wedi syrthio'n farw wrth glywed awdl dduchan Dafydd. Cyfeirir at y traddodiad hwn, neu rywbeth tebyg, yn un o gywyddau ymryson Gruffydd Gryg. Ar air Sion Bradford, dywedir mai yn Nhal y Llychau y claddwyd Dafydd, ond dan yr ywen "ger mur Ystrad Fflur a'i phlas" y cwsg yn ol cywydd Gruffydd Gryg.

Anodd dywedyd pa faint o'r pethau hyn sydd yn wir. Y mae yn agos i Fro Gynin heddyw graig a elwir "Cadair Dafydd ap Gwilym," ac y mae'r hen dŷ yn furddyn, ond ni eill bod dim o hono yn aros er y bedwaredd ganrif ar ddeg. Sonnir yn y cywyddau a briodolir i Ddafydd am Faesaleg, a chymerir bob amser mai'r lle yn sir Fynwy y sydd bellach, yn unol âg iaith fâs y trigolion, wedi ymdaeogi yn "Base-leg," oedd y lle. Darganfûm bedair blynedd yn ôl, sut bynnag, bod yn ardal Bro Gynin ffrwd fechan a elwir heddyw "Salem," oddiwrth enw rhyw gapel, ond a elwid gynt "Saleg," medd yr hen drigolion. "Saleg" hefyd yw'r ffurf ar fap Speed. Yn ôl hen wraig o Benrhyn Coch, oedd, bedair blynedd yn ol dros ei phedwar ugain oed, yr oedd gerllaw'r pentref hwnnw ddôl a elwid "Dôl Maes Saleg" pan oedd hi'n blentyn. Canodd Tudur Penllyn gywydd i Feredydd ap Llywelyn o Enau'r Glyn, a geilw ei dŷ yn "Seler Dyffryn Mysaleg." Dyna braw felly fod yr enw yno yn oes y Tuduriaid. Y mae'n bosibl nad aeth Maesaleg Dafydd mor fâs wedi'r cwbl! Pa wedd bynnag, enwir nid ychydig o leoedd yn Sir Aberteifi yn y cywyddau a briodolir iddo, ac nid anhebyg na cheir eto ragor o oleuni ar y mater.

Ychydig o hanes Dafydd a geir yn ei gywyddau, os na chydnabyddir bod hanes dyn fwy yn ei deimlad a'i brofiad nag yn y ffeithiau gweithredol y galler eu hadrodd am dano. Os luniwn i ni syniad am Ddafydd oddiwrth ei gerddi, nid rhaid i ni gwyno bod ei hanes mor brin. Dysgodd ei gelfyddyd yn ardderchog. Wrth hynny gwelwn y rhaid ei fod o deulu lled dda cyn y cawsai'r cyfle, neu ynteu ddigwydd ei noddi gan ryw bendefig. Gesyd rhai traddodiadau ansicr ei dad allan fel amaethwr lled ddi-sut. Gallai hynny fod, ond y tebyg yw mai drwy fraint ei eni y cafodd Dafydd ei ddysg, canys y mae ei awdlau yntau i gyd o'r un natur â gwaith beirdd y cyfnod cynt—yr un deunydd, yr un geiriau cyfansawdd, a'r un gynghanedd. Cafodd ei ddysg yn ol yr hen draddodiad, a hwnnw yn debycach i draddodiad Gwynedd nag i draddodiad Morgannwg. Ond y mae ôl dylanwad y cyflwr a ffynnai ym Morgannwg a rhannau Normanaidd ereill o'r Deheubarth, ar ei ddatblygiad, fel y cawn ddangos eto. Y mae'r ddeubeth hyn yn ddiau yn cefnogi'r dyb mai o'r wlad ganol rhwng De a Gogledd yr hanoedd.

Ond rhaid bod Dafydd wedi ymwrthod yn lled gynnar â'r hen ganu. Yn yr ymryson rhyngddo â Gruffydd Gryg, cawn Ruffydd yn ei gyhuddo o ganu cerdd ffug a cherdd newydd, ac yntau yn edliw i Ruffydd hen gerdd Gwynedd. A newydd oedd cerdd Ddafydd o'i chymharu â'r hen, o ran deunydd a dull. Diflannodd y geiriau cyfansawdd o honi, a chymerth merch a natur le pob testun arall. Ni ellir drwy unrhyw ddyfais ddodi ei gerddi yn nhrefn eu hamser, fel y gwelom gwrs eu twf a'u hanes, ond gellir eu bras ddosbarthu yn ôl fel yr ymglymant â'i gilydd. Ni chafwyd hyd yma sicrwydd hanesyddol am yr un o'r merched y canodd Dafydd iddynt, ac os astudir ei waith yn fanwl, y casgliad mwyaf naturiol yw fod ei brofiad gyda llawer un ac mewn llawer lle yn dyfod i mewn i ystori Morfudd a Dyddgu.

### (ch). Y Fynaches.

Yn ôl yr ystori, aeth merch Ifor Hael yn fynaches, a chanlynodd Dafydd hi i Fôn, ond nid oes dim yn y cywyddau

yn profi hynny, oddieithr bod un cywydd yn crybwyll bod yn hyspys y bu ef yn "was myneich" ym Môn. Yn argraffiad Pughe ac Owain Myfyr, gelwir y seithfed cywydd yn gywydd "I wallt merch Ifor Hael," ond nid oes ynddo ei hun ddim i ddangos mai merch Ifor oedd hi. Canwyd amryw o'r cywyddau, sut bynnag, i fynachesau. Rhydd y bardd enw un o honynt —Gwenonwy,—ac y mae'r testun yn cyfiawnhau'r teitl, "na welsai [y bardd] ond ei hwyneb gan ei chrefyddwisg." Ymhlith holl brydferthwch disgrifiadau merched gan feirdd y cywydd, byddai anodd gael dim tlysach na'r llinellau hyn:—

"Deuliw nyf [eira], nis dylai neb
Duo hon, ond ei hwyneb;
A'i thâl [talcen], mi a'i dyfalwn
(Och! Dduw tad, na chuddiwyd hwn!)
Megis o liw—megais lid—
Myr, eiry, neu faen mererid,
Mwyn y gosodes Iesu
Am eiry dâl y mwrai du;
Dwyael geimion, delw gymwys,
Deuwrym lân ar y drem lwys.

Mwyalchod teg ym mylch ton,
Mentyll didywyll duon
Dwy ffynnon wirion warae,
Eu dwyn uch meindrwyn y mae;
Gwreichion aur, grechwen araul,
Gwedi rhoi mewn gwydr a haul;
Amrant du ar femrwn teg,
Fal gwennol ar fol gwaneg;
Diliau rhos, dail o aur rhudd,
A dorrwyd ar ei deurudd;
Grannau cwyr mewn gryniau calch,
Grawn gwingoed ar groen gwyngalch;
Ceirioes aeddfed, cwrs addfwyn,
Cwrel, lliw criawol llwyn;
Dwy sêl o liw grawn celyn,
Dagrau gwaed ar deg eiry gwyn."

"I'r Lleian" hefyd y mae'r nawfed cywydd, lle'r eddyf y bardd mai gwir y gair iddo ei charu, ac mai nef ei enaid fuasai ei chael. Yn y degfed cywydd, y mae ef yn ceisio gan y Lleian ymwrthod a'i chrefydd, gadael y bara a'r dwfr, y berwr, a'r "pader main," a'i ganlyn yntau yn hytrach—

"Na fydd leian y gwanwyn,
Gwaeth yw lleianaeth na llwyn;
Dyred i'r fedw gadeiriog,
I grefydd y gwydd a'r gog!"

Yn yr unfed cywydd ar ddeg, denfyn latai "i hudo manaches i'r llwyn." Oni ddeuai'r un a fynnai, cais gan y llatai hudo unrhyw "ddyn deg i'r coed," y glochyddes o'r côr, neu yr abades ei hun. Daw enw Morfudd hefyd i mewn i'r cywydd hwn. Nid oes yn y deuddegfed cywydd, a elwir yn y teitl yn gywydd "I ymddiheuro (sic) merch Ifor Hael," ddim i brofi mai merch Ifor oedd y fenyw, ond gelwir hi "Y ferch o'r fynachlog faen." Y mae'n debyg felly mai mynaches oedd. O holl gywyddau Dafydd, hwn yw'r lledneisiaf ei deimlad, ond odid:—

"Pa wedd, eithr o ryfeddod,
Y'th gawn, loer eglurwawn glod,
Heb fod un, ddyun ddeall,
Gar llaw i garu y llall?
Ni bu, garu gywiroed,
Dy fin wrth fy min, ermoed;
Na'th anadl gwan pêr annerch,
Na'th wyneb wrth f'wyneb, ferch."

Dengys y cywyddau hyn, pa wedd bynnag, pa beth oedd osgo Dafydd tuag at arferion ei oes, ac nad oedd ferch deg na chanai iddi, boed leian neu beidio.

**(d). Dyddgu.**

Canodd amryw gywyddau i Ddyddgu, a elwir yn y pedwerydd cywydd ar ddeg o argraffiad Pughe yn ferch Ieuan ap Gruffudd ap Cuhelyn. Dywed yr awdur ei fyned un noswaith i dŷ Ieuan, ac nad hawdd iddo gysgu byth wedyn oblegid ei gariad at y ferch. Disgrifia hi fel un wallt-ddu, a dwg i mewn i'r cywydd gais aflwyddiannus i fydru darn o chwedl Peredur fab Efrog, sef yr olygfa wrth dâl cuddigl y meudwy, a ddyfynnwyd eisoes. Mewn cywydd arall, cyffelyba'r bardd ei hun, yn ei gariad at Ddyddgu, i longwr ar y môr. Yn y nesaf, denfyn iwrch yn llatai ati, a chrybwylla am "Dowyn dir" fel pe bae ei chartref hi yno. Nid ymddengys bod cyflwr y bardd cyn dosted ag y dywed, canys yn y cywydd nesaf enwir Dyddgu yn un o bedair o'i gariadau, nid amgen "Morfudd ŵyl, mawr feddyl-

iau," Elen, "Brenhines arglwyddes gwlan Brethyndai bro Eithindan," Dyddgu ei hun, ac un arall na roddir ei henw, ond y dywedir bod "holl Wynedd" yn ei moli. Yn y cywydd nesaf i Ddyddgu, sy'n nodedig am ei gymeriad llythrennol — pob llinell ynddo yn dechreu â'r llythyren D—disgrifir y ferch fel "Didaer loer o Dudur lwyth," a chwyna'r bardd fod ei gyflwr yn dost iawn oblegid ei charu:—

"Dy fardd mad yn anad neb,
Digroenes deigr ei wyneb!"

Yna, cawn gywydd "Gwahoddiad Dyddgu i'r Deildy." Gellid tybio mai yn Sir Aberteifi yr oedd y deildy, canys dywed y cywydd:—

"Dy wahodd, drych y triphlwyf,
I Ddol yr Aeron ydd wyf."

Ond y mae Dol "yr" Aeron yn amheus iawn, a cheir hefyd ddarlleniadau ereill o'r llinell. Eto, y mae hwn yn gywydd da, a'r disgrifiad o'r deildy yn dlws iawn:—

"Tra fom allan dan y dail,
Y cynnes fedw a'n cynnail;
Lle cyrch iyrchod rywiog ryw,
Lle cân edn, lle cain ydyw!
Eos gefnllwyd ysgafnllef,
A bronfraith ddigrifiaith gref;
Nawpren teg eu hwynepryd,
Y sydd o goedydd, i gyd;
Lloches adar i chwarae,
Llwyn mwyn, llyna'r llun y mae!
I waered yn grwm gwmpas,
I fyny, yn glochdy glas;
O danyn [danom?], eiddun [eiddom?] addef,
Meillion aur, myn Myllin nef!"

Sonnir eto am Ddyddgu yn yr ugeinfed cywydd, fel "Hocrell fain ddiell, fwyn, dda," a garodd y bardd "cyn oedran gwra" Dywed ei bod hi yn "gyflawn o'r dawn a'r dysg" ac yn "gariad dianwadal." Amheus iawn yw darlleniad argraffiad Pughe o gymhares y llinell olaf—"Yn lath aur, yn loyw ei thâl." Nid ysgrifenasai Dafydd "yn lath" yn lle "yn llath." Wedi canmol Dyddgu fel hyn, try'r bardd i sôn am Forfudd, fel un wahanol iawn, "yn caru rhai a'i cerydd." Dywed ei bod hi hefyd

"Yn berchennog, barch uniawn,
Tŷ a gŵr, yn ddyn teg iawn."

Ymhellach ymlaen, sonia am ei gŵr yn curo ei ddwylaw ac yn llefain—

"Llef beunydd a rydd rwyddchwant,
A bloedd am ddwyn mam ei blant."

Nid yw, fodd bynnag, ynghorff y cywydd yn galw'r gŵr yn "Eiddig," nag ychwaith yn dodi'r llysenw "Bwa Bach" arno, fel yr awgrymir ei fod yn y teitl. I ddiweddu, penderfyna'r bardd ddal at Ddyddgu—

"Dewis yr wyf ar ungair
Ddyddgu i'w charu, o chair."

Ni ddigwydd enw Dyddgu, os nad o ddamwain, yn yr un o'r cywyddau ereill.

**(dd) Morfudd.**

Canodd Dafydd liaws o gywyddau i Forfudd—saith a saith ugain, yn ôl teitl un cywydd yn argraffiad 1789:—

"Saith gywydd i Forfudd fain,
Seth hoewgorff, a saith ugain."

Prin y mae'r testun ei hun yn gwneuthur yn eglur mai'r ystyr yw ei fod wedi canu cynifer o gywyddau i Forfudd, ond y mae yn y llyfr tua hanner cant o gywyddau lle'r enwir hi yn y testun. Dywedir yn y teitlau am oddeutu hanner cant arall mai iddi hi y canwyd hwy. Dengys cynnwys rhai o honynt bod yn debyg mai e, ond gallai y rhan fwyaf o honynt er hynny fod wedi eu canu i ryw ferch neu ferched ereill. Nodir mewn un cywydd mai un o Ddyfed oedd y ferch y canwyd ef iddi, ond ceir enw Morfudd yn y teitl uwch ei ben.

Geilw'r bardd hi yn ferch Madog Lawgam, ond nid oes dim o hanes hwnnw yn hysbys. Disgrifia hi fel "Y fun o Eithinfynydd," eithr ni wyddis am le o'r enw, a chofier fod Dafydd hefyd yn galw un o'i gariadau ereill—Elen—yn "frenhines brethyndai bro Eithindan." Am Forfudd dywedir mewn mwy nag un cywydd mai "o Wynedd yr henyw;" ond mewn ereill, danfonir Llatai ati i Lanbadarn; dywedir fod y bardd yn ei cheisio "goris Llys Ifor," ac wedi ei gweled wrth Wern y Talwrn. Awgrymir mai ar "oror

Dyfi" yr oedd hi yn byw ar ôl ei phriodi â'r "Bwa Bach;" ac wrth gwyno'r helynt fu arno am ei dwyn, dywed y bardd—

"Ym Mynyw'r wyf, ddyn hoywfar,
Ym Môn yr haeddaist fy mâr."

Gellid casglu oddiwrth un cyfeiriad ati mai lleian oedd hi. Yn un o gywyddau Dyddgu, fel y gwelsom, sonnir am dani eisoes fel gwraig briod. Felly, digon ansicr yw pob sôn am ei chartref a'i hanes yn y cywyddau eu hunain, er mor bendant yw'r teitlau y gwelwyd yn dda eu dodi uwch eu pennau. Eto, gellir casglu ystori am Forfudd o'r cywyddau. Peth arall yw pa faint o'r ystori sydd wir, a pha gyfran sy ddychymig, pa faint o honi sydd waith Dafydd ei hun, a pha bethau a chwanegwyd ati gan gopïwyr. Gwnaed hynny, yn ddiameu, canys y mae'r copïau diweddaraf yn aml yn llawnach na'r rhai cynaraf. Hyd oni chaffer yr holl gywyddau, o bob llawysgrif at ei gilydd a'u cymharu, bydd y testun, o ran ffurfiau gramadegol ac ystyr, yn gwbl ansier, a beirniadaeth fanwl a safadwy ar yr iaith a'r cynnwys, fel gwaith Dafydd, yn amhosibl. Yma, ni cheisir ond rhoddi syniad am gynnwys a gwerth y pethau a briodolir iddo, fel llenyddiaeth; eithr yn y dyfyniadau, derbynnir o'r llawysgrifau rai darlleniadau a ystyrrir yn well na'r hyn a geir yn argraffiad 1789.

Efallai nad oedd Morfudd ond enw a roddai'r bardd ar lawer merch a dynnai ei sylw. Eto, fel y dywedwyd, yn y cywyddau lle'r enwir hi, ac mewn ereill nad yw ei henw ynddynt, ond y sydd fel pe baent yn awgrymu rhyw gysylltiad â'r lleill, ceir math ar ystori sy'n ymglymu am ei henw. Dilynwn honno.
Edrydd Dafydd, ynteu, ei hanes yn gweled merch hardd yn Rhosyr, neu Niwbwrch, ym Môn, ar ddydd gwyl Bedr. Nid yw'n ei henwi, ond y mae'r amgylchiadau yn ddechreuad da i'r ystori. Yr oedd y ferch honno yn myned i ryw lofft yn y dref, a'r bobl yn edrych arni mewn syndod, Dafydd yn eu plith.

"Rhyfedd fu gan y lluoedd,
Rhodd o nef, y rhyw ddyn oedd,"

meddai. Prynodd yntau win, a gyrrodd yn rhodd iddi. Ni fynnai hithau mo'r gwin, eithr tywalltodd ef am ben y gwas. Yn nesaf, gwelodd hi, ond odid, "yn aur o'r pen bwygilydd,"

"Yn gwrando ar salm Balchnoe
Yng nghor Bangor Ddeiniol, ddoe."

Gwnaeth rhai "Falchnoe" yn gerddor enwog ar bwys y cyfeiriad hwn, ond y mae'r darlleniad yn amheus iawn. Ceir "balch noe" yn un o englynion Gruffudd ap Maredudd ap Dafydd i ddydd Sul, ond ei ystyr yno yw "Noe (neu Noah) falch." Beth bynnag am hynny, cwyna Dafydd ei boen o blegid y ferch a welodd, gan ddywedyd nad oedd derfyn ar ei hiraeth am dani:—

"Hwy trig na môr ar y traeth
Herwr Gwen yn ei hiraeth."

Cân i'w gwallt a'i phenwisg hi, neu ryw ferch arall, ac i'w harddwch digyffelyb:—

"Ei chlaerwin fin chwerthinog,
A'i grudd fel rhosyn y grog."

Aeth ei ddillad yn lleicion am dano oherwydd ei hiraeth, ac o'r diwedd, denfyn yr wylan yn llatai ati. Y mae mwy o gamp ar ei ddisgrifiadau o'r wylan nag y sydd o angerdd yn ei gariad. Meddai wrth yr aderyn:—

"Dilwch yw dy degwch di,
Darn fel haul, dyrnfol heli;
Ysgafn ar don eigion wyd,
Esgudfalch edn bysgodfwyd;
Yngo'r aet, wrth yr angor,
Lawlaw a mi, lili môr;
Llithr unwaith, llathr ei hannwyd,
Lleian ym mrig llanw môr wyd."

Yna, cyffelyba'r ferch i'r tair rhiain odidog gynt, Policsena, Diodema, a Helen, a thegach byth yw hithau:—

"Chwaer yw hon, lon oleuloer,
Undad i'r lleuad a'r lloer,
A nith i des ysblennydd,
A'i mam oedd wawr ddinam ddydd."

Sonia am "aredig, hau, medi, a chywain serch," a chwyna anwadaled oedd y ferch a eilw "Fy nuwies addfwyn ieuanc." O'r diwedd, disgrifia ef ei hun yn torri ei galon o gariad, ac yn marw, a'r modd y cleddid ef:—

"Minnau mewn bedd a gleddir
Ym mysg dail a maswgoed îr;
Arwyl o fedw irion
Yfory a gaf, dan frig onn;
Amdo wenwisg amdanaf,
A lliain hoew feillion haf
Ac ysgrin i geisio gras
Im o'r irddail mawr urddas,
Ac elor o wyth gwialen,
A blodau llwynau yn llen;
Y mae gwylanod y môr
A ddon' fil i ddwyn f'elor."

O "lyfrau dail" y darllenid y gwasanaeth; ym medw Gwynedd y byddai'r bedd; canai'r gôg rhag ei enaid—

"Ar irgoed fal yr organ,
Paderau ac oriau'n gall,
A llaswyrau, llais arall;
Fferenau a phêr annerch
A gaf, fis haf, gofwy serch;
Aed Duw i gynnal oed dydd
I baradwys â'i brydydd!"

A chymryd popeth at ei gilydd, dyma un o'r rhai goreu o'i gywyddau serch. Er ei ysgafned, cawn ynddo rywfaint o lawnder ac undod, gyferbyn â chwteurwydd digyswllt cymaint o honynt. Y mae'r un peth yn wir hyd fesur llai am y cywydd sy'n disgrifio pererindod y ferch o Fôn i Fynyw i geisio maddeuant "am ladd ei gwas dulas dig, Poenydiwr cul, poenedig." Mynegir ba ffordd yr âi, ac erfynnir ar bob afon a groesai fod yn fwyn wrthi. Anfynych y daw Dafydd mor agos i ledneisrwydd canu serch ei ganrif ar ei oreu, fel y ceir, er engrhaifft, yn sonedi Dante neu Petrarca. Yn hytrach na dymuno drwg iddi. fel y gwna'n fynych, y mae yma'n barod i faddeu:—

"Maddeuant Mair, neddair nawdd,
I'm lleddf wylan a'm lladdawdd;
Diau mae im a'i diaur,
Minnau a'i maddau i'm haur!"

Y cam nesaf yn yr ystori yw fod Morfudd—enwir hi yn y cywydd hwn—wedi ymgredu â'r bardd, a chawn fwy nag arfer o angerdd yn ei eiriau wrth fynegi ei lawenydd. Teimlai "yrddwaew o serch," a gwell ganddo lw Morfudd na phob rhodd arall:—

"Cred, Eluned oleuni,
A roes da ei moes i mi,
O drefn ei llaw fodrwyfaich,
O ddyhewyd, bryd, a braich,
Y car fi, rhi rhywogaeth,
O char yr âb ei mab maeth.

Ys gwaedwng yw, os gwedir;
Ys gwyn fy myd yw, os gwir!
Ni feddais fudd o gwbl-fodd,
Erioed, er pan rhoed y rhodd,
Cystal ei gael gan hael, hwn,
Od ydyw yn rhodd didwn;
Nid gem ofered gymwyll,
Nid bedw glyn, nid dillyn twyll
Eurychwaith; Mab Mair uchaf,
A'i law wnaeth, drwy olew Naf,
Sel, a Duw a'i hinseiliawdd,
Yn grair, o'i neddair a'i nawdd;
Llw i Dduw o'i llaw ddeau,
Llyna od gwn llw nid gau!"

Yna, yn rhediad yr ystori, gellid gosod nifer o gywyddau yn adrodd hanes cariad y ddau. Y maent yn llawn prydferthwch o bob math, ac o gynefindra rhyfeddol â natur wyllt. Yr oedd gwallt y ferch—ni cheir enw Morfudd yn y cywydd—fel

"Aur melyn am ewyn môr,
Tresi mân tros ei mynwor;
Bargod haul goruwch brig ton,
Llurig euraid, lliw'r goron."

Disgrifir Morfudd yn "chware cnau" i'w law, ac yn plethu torch fedw neu dalaith o blu paun iddo'n anrheg. Melltithia'r niwl a'i lluddiodd rhag dyfod i'w gyfarfod, gydag afradlon ffansi a medr—y niwl yn cuddio'r wlad fel "ennaint gwrachïod annwn," ac yntau'n ymlwybro trwyddo,

"Lle'r ydoedd ymhob gobant
Ellyllon mingeimion gant!"

Ymbilia, bryd arall, â'r don na luddiai ef at ei gariad, a chawn ganddo gystal darn o farddoniaeth y môr ag a ganwyd nemor dro. Dywed am y don:—

"Ni bu organ na thelyn,
Na thafawd difeiwawd dyn,
Duwiesliw, nad gwell d'oslef,
Fordwy glas, a'th fawrdeg lef!"

Yna, duchana'r daran a ddychrynodd y ferch. Geilw hi yn bob enw. Cawn yma bob arwydd o barhad y canu melltith, o'r melltithio, y dyfyd Diodorus am dano ymhlith y Galiaid gynt, hyd felltithion y beirdd Gwyddelig a duchanu ac ymsennu'r glêr Gymreig:—

"Twrf a glyw pob tyrfa glau,
Tarw cryg yn torri creigiau;
Gwiddon goch yn gweiddi'n gau,
Gwrach hagr, dan guro'i chawgiau;
Rhegain garm rhyw gŵn gormes,
Rhugl groen yn rhoi glaw a gwres;
Nid gwaeth wrth fyned o'i gwâl
Er bremain o'r wybr wamal,
Oni bai faint, mewn braint braw,
Ofn deuddyn a fai'n dyddiaw!—
Arw fleiddiast, oerfel iddi
Am ysgar meinwar a mi!"

Eto, ynghanol yr holl felltithio i gyd, ni fedrai'r bardd beidio âg edmygu mawredd y daran. Nid o fregedd y canwyd llinellau nerfus fel hyn:—

"Taro a wnaeth, terwyn oedd,
Trwst taran tros y tiroedd,
A ffrydiaw croewlaw creulawn,
A phoeri mellt yn ffrom iawn!
Taran a ddug trinoedd yn,
Trwst arfau wybr, tros derfyn;
Tân aml a dŵr tew'n ymladd,
Tân o lid, dwr tew'n ei ladd;
Clywais fry, ciliais o fraw,
Cawrlais utgorn y curlaw;
Canu trwmp o'r wybr gwmpas,
Curo glew ar bob craig las;
Cregl ef yn dryllio creiglawr,
Crechwen o'r ffurfafen fawr!"

Odid fawr gael erioed mewn geiriau gymaint o sŵn ac ysbryd y Daran. Cymharer eto'r cywydd i yrru'r Gwynt yn llatai. Y mae hwnnw yn llawn o'r un afiaith ysblennydd, gwaith gŵr a wyddai gydymdeimlo â phob cynneddf ar Natur:—

"Yr wybrwynt, helynt hylaw,
Agwrdd drwst, a gerdda draw,
Gwr oerias wyd, garw ei sain,
Drud byd, heb droed, heb adain;
Uthr wyd, mor aruthr y'th roed,
O bantri wybr, heb untroed,
A buaned yr hedy
Yr awron dros y fron fry!
Noethud twyn, cyd nithud dail,
Ni'th dditia neb, ni'th atail
Na llu rhugl, na llaw rhaglaw,
Na llafn glas, na llif, na glaw!
Ni'th wyl drem i'th wâl dramawr,
E'th glyw mil, nyth y glaw mawr;
Rhad Duw wyd ar hyd daear,
Rhuad blin doriad blaen dâr!"

A mawredd diameu pethau fel hyn, cymharer ysgafn dlysineb ei ddisgrifiadau o goed a blodau ac adar. Y mae'r llwyn fel plas—

"Tyfiad heb naddiad neddyf,
Tŷ ar un piler y tyf."

Gwêl y llwyn banadl dan ei flodau goludog—"Barrug haf ydyw brig hwn!" meddai. Nid oedd fodd nad angel a'i gwnaeth—

"Angel mwyn, yng ngwely Mai,
O baradwys a'i brodiai!"

Weithiau, byddai'r ysgyfarnog neu'r bugail yn dychrynu'r ferch, a'r bardd yn eu melltithio â'i holl egni. Bryd arall, danfonai yntau ei lateion, y Cyffylog, yr Eog, unrhyw greadur gwyllt. Disgrifia hwy gyda ffansi doreithiog; rhydd iddynt negesau mewn geiriau na wëwyd erioed eu cywreiniach—

"Gofyn oedd gyfiawn iddi,
Ddyn fain deg, ddwyn f'enaid i!"

Byddai ar brydiau yn curo wrth ddrws tŷ ei gariad yn yr ia a'r oerfel, dro arall yn edliw ei hanwadalrwydd mewn llinellau digyffelyb. Ymha iaith o'r byd y dywedid hyn cystal âg yn Gymraeg?—

"Gweniaith brydferth, a chwerthin,
Erioed a fu ar dy fin!"

Cynghorai'r Brawd Llwyd ef ymwrthod â'i garu a'i ganu, er mwyn ei enaid. Meddai hwnnw, o'i ofal am dano:—

"Ymogel draws magl draserch,
Ymogel mwy maglau merch!"

Ond ni fedrai'r bardd ymryddhau, pe mynasai. Pa fodd y byddwn rydd o'r fagl, meddai, "A minnau . . . . ynddi yn gweiddi yn gaeth?"

O'r diwedd, daeth y Gôg â'r newydd iddo briodi Morfudd âg arall. Ni chredai yntau hynny. Oni phriodwyd Morfudd âg ef yn y coed gan Fadog Benfras?—

"Taw a'm gwatwor am forwyn—
Y llais ni chredaf i'm llwyn!
E'm rhoddes liw tes lw teg
Na chawn gan unferch chwaneg;
Llw a chred, myn y bedydd,
I mi dan ganghenni gwŷdd,
A rhwymaw llaw, yn y llwyn,
Yn ddiddig â'i bardd addwyn,
Myn Mair! a bu offeiriad
Madog Benfras, mydrwas mad!"

Ond ymddengys mai'r Gôg oedd yn iawn. Priodwyd Morfudd â Chynfrig Cynin, "Y Bwa Bach." Eto, ar dro yn unig y ceir dim tebyg i leferydd siom drist yng nghanu Dafydd, er maint ei gwyno. Cawn ryw ias o hynny yn y neges a rydd i'r Cyffylog i'w dwyn at Forfudd:—

"Mynag, ednan o'r mynydd,
Fy mraw caeth, fy mriwiau cudd.
Nid llai y cerid ei llun
A'i glwysfryd ar y glasfryn,
Mwy na phan fu gu ei gwedd
Yn forwyn deg, dan fawredd."

Ymbilia hyd yn oed ar Ddwynwen—hen dduwies Serch a aeth yn Santes, feallai—ei gynorthwyo. Ceir un cywydd yn disgrifio pa fodd y dug Forfudd oddi ar ei gŵr, pan oedd y tylwyth wedi meddwi, ond y mae'n ddigon sicr na chanodd Dafydd y cywydd hwnnw, o leiaf yn y llun sydd arno yn y copi argraffedig. Eto, ei dwyn a wnaeth, yn ôl cywyddau ereill, ac y mae gorfoledd gŵr wedi gwneuthur camp felly yn y llinellau hyn:—

"Fy myd wen! mi yw dy ŵr,
A'th was i'th burlas barlwr;
Dy wely yw'r llawr deiliog,
Dy organ a fydd cân côg;
Dy loches cynnes yw'r coed,
Tegan wyt ti mewn tewgoed!
A'th drws, ail Fenws feinir,
Feddal wisg o'r hafddail îr;
Glwysbryd wisg o ddail glasbren
A fu wisg i Efa wen,
Cei dithau, wên heulwen ha,
Olofaidd wisg, ail Efa;
Efa wyd, y ddyn wiw fau,
Adda, f'annwyl, 'ddwyf finnau!"

Ond nid hir y pery pethau fel hyn yn y byd drwg. Rhoed cyfraith ar Ddafydd, medd y teitlau yn y llyfr. Y mae peth sail i'r casgliad hwnnw, feallai, yn y cywydd ei hun, ond y mae Dafydd, erbyn hyn, ymhell oddiwrth ledneisrwydd yr adeg yr ymgredodd Morfudd âg ef. Y mae bellach yn addef mai ffol oedd iddo ei dwyn, ac yn dechreu ofni am ei groen:—

"Ys diriaid nad ystyriais,
O'th gael y bu annoeth gais;
Ni bu anrheg na neges,
Eithr fy lladd, waeth ar fy lles!"

Dyma godwm gwaethaf Dafydd. Ond hwyrach mai dyna'r praw fod yr ystori'n wir! Eto, ni fedr ymwrthod â Morfudd ychwaith, canys gofyn:—

"Oes i'm obaith fyth weithion
O'th weled ti, wythliw ton?"

Gorfu iddo, medd yr hanes, ei hedfryd i'r Bwa Bach, ac ymddengys bod un cywydd yn cadarnhau hynny. Yn hwnnw, y mae yntau beth yn nes i'r ystad briodol ar feddwl carwr mor gywir âg y mynnai ef ei fod, canys dywed fel hyn:—

"Dos, fau enaid, yn gwbliach,
A Duw'n borth it, y dyn bach;
Dos yn iach, gadarnach ged,
Dengwaith gwae fi o'r dynged!"

Y mae cywydd arall yn dangos mai'r gyfraith a ymyrrodd yn y mater, ac y bu raid i'r bardd dalu iawn am ei weithredoedd, onid oedd "Heb ddyn, heb dda, 'n gla mewn glyn." Yn ol y teitlau, talodd gwŷr Morgannwg y ddirwy drosto, a chanodd yntau gywydd yn danfon yr haul i Forgannwg i'w bendithio am eu caredigrwydd. Rhydd glod uchel i Forgannwg, y mae'n wir, ond nid yw'n crybwyll dim am y ddirwy yn y cywydd. Cawn rai cywyddau i Forfudd wedi'r ddryglam uchod. Yn un o honynt, sydd dra amheus, ceir y llinellau hyn, a ddodir yng ngenau Morfudd:—

"Mwy carwn ôl, mewn dolgoed,
Dibrudd drin, dy ebrwydd droed,
Na'm godlawd ŵr priawd prudd
Ne a ddeiryd i'w ddeurudd;
Fo yw'r briddell ddichellddu,
Dithau'm henaid cannaid cu!"

Yn y darn a eilw'r llyfr yn "gywydd olaf i Forfudd," y mae ef yn adolygu'r helynt, ac yn gofyn i Dduw ac Iesu faddeu iddo:—

"Y Drindod, cyn cydfod cwyn,
Mawr ferw, a Mab Mair Forwyn,
A faddeuo 'ngham dramwy,
Amen, ac ni chanaf mwy!"

Ceir yn yr "Ychwanegiad" ar ddiwedd y llyfr amryw gywyddau ereill i Forfudd, ond, a chaniatau mai Dafydd a'u gwnaeth, ni chwanegant ddim at ein gwybodaeth am y ferch y canodd gymaint iddi.

### (e) Cywyddau Ereill.

Ceir yn y llyfr nifer o gywyddau i ferched ereill, ond nid oes fodd olrhain hanes un o honynt. Enwa rai beirdd y gwyddis rywbeth am danynt, megis Mab y Cyriog, a chyfeiria at liaws o enwau o'r Rhamantau a bucheddau'r Saint. Cais fydru rhai darnau o'r Rhamantau, megis hanes Peredur a'r frân, a hanes troi Blodeuwedd yn dylluan; ond ni ddeil ei waith i'w gymharu am funud â symledd iaith rydd y chwedlau. Cwta a charpiog yw, a llawn geiriau llanw sy'n andwyo'r ystori. Cyfeiria at ddefodau'r Eglwys yn fynych, a chawn gyffes ei ffydd, gyda golwg ar fywyd, yn ei ddadl â'r Brawd Llwyd. Cynghorodd y Brawd ef i beidio â charu merch. Meddai wrtho:—

"Llaesa boen y dydd a ddaw,
Lles yw i'th enaid beidiaw;
A thewi â'th gywyddau,
Ac arfer o'th baderau;
Nid er cywydd nag englyn
Y prynodd Duw enaid dyn."

Nid felly y tybiai Ddafydd. Credai nad oedd Duw mor greulon a cholli enaid gŵr mwyn am garu merch, ac mai dywedyd celwydd yr oedd yr offeiriaid, gan "ddarllain hen grwyn defaid." Fel hyn yr amddiffynnai'r bardd ef ei hun:—

"Tri pheth a gerir drwy'r byd,
Gwraig, a hinon, ac iechyd;
Merch fydd decaf blodeuyn
Yn y nef, ond Duw ei hun!
O'r nef cad pob digrifwch,
Ac o uffern bob tristwch.
Cyn rheitied i mi brydu
Ag i tithau bregethu.
Pan fo cystal gan bob dyn
Glywed pader âg englyn,
A chan forwynion Gwynedd
Glywed cywydd o faswedd,
Mi a ganaf, myn fŷ llaw,
Y pader fyth heb peidiaw;
Hyd hynny, mefl i Ddafydd
O chân bader ond cywydd!"

Ychydig o'r canu a briodolir iddo sydd yn y mesur hwn, a elwir yn "draethodyn," ac a arferid yn ddiau gan y Glêr, ond y mae'n nodedig mai ar y mesur hwn y mae rhai o'r pethau tebycaf a geir yn ei waith i gerdd hanes. Eto, y mae'n amheus ai ef a'u canodd i gyd. Sonnir yn un o honynt ("Y Ceiliog Rhedyn a'r Grugionyn"), am Foel Eilio, Eryri, a Pharc y Glyn, sef parc Glyn Llifon, yn ddiau, a elwir felly hyd heddyw.

Cân, fel y dywedwyd, i adar ac anifeiliaid gwylltion lawer; yn wir, bywyd yr awyr agored a geir yn ei weithiau. Nid yw ei foes mor firain â moes y Rhamantau, ac nid yw'n disgrifio gwisgoedd mor fanwl â hwy. Ei ddisgrifiadau o'i brofiad mewn lletyau cyffredin yw'r unig bethau sy'n manylu rhywfaint ar arferion bywyd tan do, a pherthyn sylwedd y cerddi hynny i rai o'r chwedlau bras a adroddes Boccaccio a Chaucer. Crybwylla rai o chwareuon ei oes, megis "chware dragwn," "chware cnau," a'r ddawns haf yn Llanidloes. Duchana'r "delyn ledr" hefyd, fel peth newydd, anheilwng i'w gymharu â'r delyn rawn, oedd glodfawr yng "Nghymru ddigrif gynt." Bardd ieuenctid, harddwch, llawenydd, a chariad ydoedd, a phennaf dristwch henaint ac angau iddo ef ydoedd eu bod yn dwyn y pethau hynny oddiarno.

Ni ellir yn awr, a dichon na ellir byth, fod yn berffaith sicr ai ef a ganodd bopeth a briodolir iddo. Y mae llawer peth, yn enwedig profion iaith, a diweddarwch y copïau, yn awgrymu nad ef oedd awdur rhai o'r darnau tlysaf sydd tan ei enw. Er hynny, dengys y glod a gafodd drwy'r oesau faint ei ddylanwad. Ni ddichon mai ef a luniodd ac a berffeithiodd y cywydd, er na cheir engrhaifft ddiameu o'r mesur hwnnw cyn ei amser ef. Eto, y mae'r ymryson â Gruffydd Gryg, yn gystal â chyfeiriad Dr. Gruffydd Roberts at y gosod a fu arno ef ac ereill, am dorri ar draws yr

hen draddodiadau, yn profi na bu iddo glod bob amser ym mysg y beirdd, ac yn dangos ei fod yn awdur pethau newyddion. Y tebyg yw fod llawer o lenyddiaeth cyfnod y newid, rhwng cwymp Llywelyn ap Gruffudd a chyfodiad Dafydd ap Gwilym, wedi colli, a bod yn y cyfnod hwnnw symudiad graddol oddiwrth yr hen safonau, o ran deunydd a mesur. Awgrymir hynny gan nodwedd yr engrheifftiau o'r mesurau a roddir yn y gramadeg a'r rheolau a elwir ar enw Edern Dafod Aur. Er bod yng ngweithiau Dafydd amryw bethau tebyg i ddulliau'r Trofaduriaid, prin y gellir dywedyd ei fod wedi benthyca yn ddigyfrwng oddi arnynt, ac nid effeithiodd eu mesurau hwy ar farddoniaeth Gymraeg o gwbl, gan na ddaeth yr acen wastad i mewn hyd oni chynefinodd y Cymry â phrydyddiaeth Saesneg. Dengys baledi'r unfed ganrif ar bymtheg eu bod yn methu meistroli'r acen reolaidd.

Nodwedd lenyddol amlycaf Dafydd yw'r ffansi doreithiog a'r ddawn a ddaeth i'r golwg yn llenyddiaeth Lloegr yn yr unfed ganrif ar bymtheg, yng ngweithiau'r rhai y gellid eu galw yn Ysgol Gymreig—Donne, oedd o deulu Cymreig; Herbert a Vaughan, a aned yng Nghymru, ac a fedrai Gymraeg; a Traherne, yntau, yn ol pob tebyg, yn Gymro. Nid yw Dafydd, y mae'n wir, mor ddifrif â hwy; ond yn eu hawydd i fynegi syniad trwy wrthrych, ac yn nawn eu llinellau diarhebol, tebygant i Ddafydd a'i ddisgyblion yn enwedig. Sonia ysgrifennydd yn y "Cambridge Modern History" (Cyf. IV. t.d. 770), am osgo Vaughan tuag at natur. Dywed mai addurn i fywyd dyn oedd natur gan feirdd Seisnig oes Elizabeth, ond ei bod yn llawer mwy i Vaughan.

"Vaughan," meddai, "never consciously expresses such a doctrine of the independence of nature as later poets have expressed. Yet his poetry is filled with unconscious expressions of that independence. He can write thus for instance of a fallen tree:

"Sure thou didst flourish once; and many springs,
Many bright mornings, much dew, many showers
Passed o'er thy head; many light hearts and wings,
Which now are dead, lodged in thy living bowers."

True, the poem goes on to trace a fanciful connection between the tree and a murdered man; yet its real inspiration comes from Vaughan's sense of the tree as something to be loved and pitied, like a human being."

Cymharer cywydd Dafydd i'r Fedwen a dorrwyd i fod yn bawl haf yn Llanidloes â'r dyfyniad uchod:—

"Llety i mi a'm llatai
Oedd dy glos ym mernos Mai,
Pan oedd wrth gyngor morwyn
D'annedd er llynedd yn llwyn!
Ni chwsg aderyn, ni chân
Meinlef ar dy frig mwynlan.
Ni cheli rin cyfrinach
I'th wasgod is bargod bach.
Ni ddaw cof it ymofyn
Ai dy glych adar y glyn!"

Ceir yr un peth yn y cywydd i'r Murddyn, heb sôn am yr holl gywyddau lle y mae Dafydd yn siarad â chreaduriaid a gwrthrychau naturiol fel pe baent bersonau megis yntau. Pan orffenno beirniadaeth â'i waith, hwyrach y bydd raid i ni newid peth ar ein meddwl am Ddafydd ap Gwilym. Eto, nid am ddim y cafodd y glod a roes yr oesau iddo. Yn ei law ef y gorfu'r gelfyddyd newydd ar yr hen.

## Y CYWYDDWYR CYNARAF.

Fel y gwelsom, nid oes engrhaifft ddiameu o'r Cywydd i'w chael cyn amser Dafydd ap Gwilym, ac eto, yn y mesur hwnnw y mae torreth y gwaith a briodolir i Ddafydd. Anodd credu mai ef a'i dyfeisiodd ac a'i perffeithiodd. Yn y gramadeg a'r rheolau cerdd a geir yn Llyfr Coch Hergest, sonnir am dri math ar Gywydd. Y traddodiad yw mai Edern Dafod Aur a ysgrifennodd y gramadeg a'r rheolau hynny, tua'r flwyddyn 1270. Yn y Llyfr Coch y

mae'r copi cynaraf y gwyddis am dano. Ysgrifennwyd y Llyfr Coch, yn ol barn Dr. Gwenogvryn Evans, tua chwarter olaf y bedwaredd ganrif ar ddeg, neu ddechreu'r bymthegfed, ond nid oes ynddo sôn am enw Edern o gwbl, a phrin y gall y gwaith fod cyn hyned a 1270. Y tebyg yw mai tyb ddiweddar oedd ei briodoli i Edern. Y mae agos bob gramadeg a rheolau cerdd a ysgrifennwyd ar ei ôl yn ddyledus iddo, ond bod llawer wedi ei chwanegu at ei gynnwys ynddynt, megis yn nawfed Llawysgrif Coleg yr Iesu, a gyhoeddwyd yn 1856 gan Ab Ithel tan yr enw "Dosbarth Edeyrn Dafod Aur." Un o'r ychwanegiadau hynny, y mae yn debyg, oedd ei alw yn "ddosbarth Edern." Pan soniom am reolau'r Llyfr Coch, ynteu, sôn y byddwn am beth a gopïwyd gan ryw ysgrifennydd anhysbys o'r bedwaredd ganrif ar ddeg. Dengys cynnwys ac arddull yr engrheifftiau a rydd o'r gwahanol fesurau eu bod yn perthyn i'r cyfnod rhwng hynny a diwedd y drydedd ganrif ar ddeg.

Yn y Llyfr Coch, fel y dywedwyd, sonnir am dri math ar Gywydd, sef Cywydd Deuair, Hirion a Byrion, Cywydd Llosgyrnog, ac Awdl Gywydd. A'r Cywydd Deuair Hirion y mae a wnelom yn awr. Rhydd y Llyfr Coch engrhaifft o hwnnw, a honno yw'r engrhaifft gynaraf y gwyddis am dani. Wele hi:—

"March ffyrf archgrwn byrr ei flew,
Llyfn, llygadrwth, pedreindew."

Mewn ysgrifau diweddarach, ac yn argraffiad Ab Ithel, ychwanegwyd at y ddeufraich hyn bedair llinell arall, digon tebyg iddynt o ran arddull. Sylwer nad oes gynghanedd o gwbl yn yr engrhaifft uchod, er y ceir yn gyffredin yn enghreifftiau ereill y Llyfr Coch gynghanedd o'r un natur ag y sydd yng ngweithiau Beirdd y Tywysogion. Yn y cerddi a argraffwyd yn y "Myvyrian Archæology," ni cheir yr un engrhaifft ddiameu o'r Cywydd Deuair Hirion. Ceir yma ac acw, yn y gweithiau a briodolir i Daliesin, rai llinellau sydd yn ateb i reolau'r Cywydd, o ran hyd ac odl, ond rhan o fesurau ereill unodl ydynt. Y mae deufraich olaf Englyn Milwr, hefyd, yn fynych yn ateb i'r rheol, ond nid eill bod pwys ar hynny gan hyned yw'r mesur hwnnw. Yn "Englynion y Misoedd," y mae'r ddwy linell olaf yn debyg i ddeufraich Cywydd, ond yn ddigynghanedd. Ceir hefyd linellau tebyg i'r Cywydd yng nghanu Meilyr Brydydd, Cynddelw Brydydd Mawr, Owain Cyfeiliog, Prydydd y Moch, Dafydd Benfras, Einion Wann, Elidir Sais, Llywelyn Fardd, Bleddyn Fardd, y Prydydd Bach, y Brawd Fadawg, Casnodyn, ac ereill, ond ar ddiwedd Englynion Unodl Union, neu mewn Awdl Gywydd y maent i gyd. Sylwer hefyd fod gan y beirdd a enwyd yn fynych englyn yn diweddu â dwy linell wyth sillaf bob un, a'r naill a'r llall yn gorffen gyda sillaf ddiacen. Felly, gwelwn nad oes ar gael un engrhaifft sicr o'r Cywydd Deuair Hirion cyn oes Dafydd ap Gwilym. Wedi hynny, dyma'r mesur oedd hoffaf gan y beirdd. Y mae'n hawdd deall pa ham. Dyma'r melysaf a'r goreu o fesurau'r beirdd Cymreig.

Ymhlith y beirdd cynaraf y ceir cywyddau wrth eu henwau, heblaw Dafydd ap Gwilym ei hun, y mae Gruffudd Gryg, Llywelyn Goch ap Meurig Hen, ac Iolo Goch, ac ynglyn â Dafydd a hwythau, y mae dau beth yn nodedig, sef bod y cywyddau a briodolir iddynt, a'u cymryd drwodd a thro, yn dra thebyg i'w gilydd, a bod ar gael beth o waith pob un ohonynt sydd yn hŷn ei ddull na'r cywyddau.

Danghoswyd eisoes bod awdlau Dafydd ap Gwilym yn perthyn, o ran sylwedd ac arddull, i'r hen draddodiad. Ceir yn y Llyfr Coch ac yn y Myvyrian Archæology un awdl a briodolir i Ruffudd Gryg, sydd yn perthyn, o ran geiriad, i'r un traddodiad, ond bod ei chynghanedd yn fwy rheolaidd. Perthyn Awdlau Iolo Goch i'r hen draddodiad o ran geiriad a chynghanedd. Ceir yn y Llyfr Coch a'r Myvyrian Archæology chwe awdl gan Lywelyn Goch ap Meurig Hen, ac y mae eu geiriad a'u cynghanedd hwythau yn cytuno â'r hen draddodiad.

Gwelwn oddiwrth y pethau hyn bod Gruffudd Gryg, Llywelyn Goch ap Meurig Hen, ac Iolo Goch, yn perthyn i'r un cyfnod â Dafydd ap Gwilym. At

hynny, fe gofir y bu ymryson rhwng Gruffudd a Dafydd, a bod Gruffudd ac Iolo wedi canu marwnadau iddo. Un arall a enwir gan Dafydd yw Madog Benfras, ac y mae peth o'i waith yntau ar gael. Cymerwn y rhai hyn, ynteu, fel y Cywyddwyr cynaraf.

## MADOG BENFRAS.

Ni wyddom odid ddim o hanes Madog. Dywed yr hanes a ysgrifennwyd ym Morgannwg am y "Tair Eisteddfod Dadeni," ei fod yn un o "dri brodyr Marchwiail," ac iddo ennill "cadair a chae bedw am rieingerdd" yn eisteddfod Maelor ym Mhowys. Nid oes gofion am yr Eisteddfodau honedig hyn ond yn yr Iolo MSS., ac ysgrifennwyd yr hanes hwnnw o leiaf ar ol dyfeisio Gorsedd y Beirdd. Nid yw'n anhebyg y byddai beirdd y cyfnod hwn yn cyfarfod â'i gilydd i ymryson canu, ac y mae Dafydd ap Gwilym, ac hyd yn oed Ddafydd Nanmor, yn sôn am "anrheg o gae bedw"—dealler mai ystyr "cae" oedd torch neu bleth—fel nad oes dim amhosibl yn y dywediad bod Madog wedi ennill gwobr felly mewn rhyw ymryson neu gilydd. Ond pa faint bynnag o sail a allai fod i'r "hanes" hwn, fe'i gwnaed yn ddiwerth gan y dychmygion a wthiwyd i mewn iddo gan ei ysgrifenwyr. Y cwbl a wyddom am Fadog Benfras yw, fod Dafydd ap Gwilym yn sôn am dano fel y sawl a'i priododd ef a Morfudd yn y llwyn, ac wedi canu cywydd i'r "Cae bedw a modrwy a gawsai Madog Benfras gan ei gariad;" bod ar gael gywydd "a ganodd Dafydd ap Gwilym pan glywodd chwedl anwir am farw o'i gyfaill Madog Benfras y bardd;" bod hefyd ar gael farwnad a ganodd Madog ar ôl Dafydd ap Gwilym ei hun, a bod mewn llawysgrifau rai cywyddau âg enw Madog wrthynt. Pa un bynnag a fu Madog ai peidio yn chware priodi Dafydd a Morfudd yn y llwyn, nid yw'r awgrymiad yn groes i ysbryd nwyfus yr oes honno, ac arferion ei beirdd. Yr oedd canu marwnad i ddyn cyn ei farw yn ddigrifwch a barhaodd hyd y ddeunawfed ganrif, o leiaf, fel y dengys "Cywydd Marwnad Dafydd ap Wiliam ag ynte yn fyw," gan Sion Prys o'r Gaerddinen. Am weithiau Madog Benfras, y mae o leiaf, ryw bedwar peth a briodolir iddo mewn llawysgrifau a welais i. Yn Llawysgrifau Peniarth 49, 81, a 97, ceir y cywydd marwnad i Ddafydd ap Gwilym, a argraffwyd gan Owain Myfyr ("Barddoniaeth Dafydd ap Gwilym," 1789, t.d. xxxvii). Yn llawysgrifau Peniarth 51, 54, a 57, ceir cywydd merch tan ei enw. Y mae Peniarth 54 yn dodi ei enw wrth ddarn o'r "Cywydd i un o'r Brodyr Llwydion," sydd yn dechreu â'r geiriau, "Cosbwr y marwol bechod," ac a briodolir yn argraffiad 1789 i Ddafydd ap Gwilym (gwel t. d. 432). Nid yw'r cywydd yn y llawysgrif ond tua hanner y maint sydd iddo yn y llyfr print. Y mae Peniarth 112 hefyd yn dodi ei enw dan gywydd arall, a briodolir yn ogystal i Ddafydd Nanmor, sef hwnnw sydd yn dechreu—

"Os heddyw i'm diswyddir,
Y dydd cyntaf o'r haf hir."

Rhoir rhyw ddau gywydd arall iddo mewn ysgrifau diweddarach. O'r pethau a nodwyd uchod, nid oes ond ei farwnad i Ddafydd ap Gwilym, a'i gywydd i Fyfanwy heb enwau ereill wrthynt. Cywydd serch yw'r olaf, ac o ran arddull, y mae'n ddigon tebyg i'r cywyddau a briodolir i Ddafydd ap Gwilym. I ddechreu, y mae'r bardd yn canmol tegwch Myfanwy, gan ei chyffelybu i wynder yr eira, i ewyn y don friw, ac i'r trochion ar flaen rhaeadr. Y mae ei eiriau cyfansawdd, megis "lliwod," "rhaeadrflaen," a "syndalwe," yn debyg iawn i rai Dafydd, ond ceir adlais termau yr hen feirdd yn ei gyfeiriad at y ferch ar ei "bylchtwr maen":—

"Bylchdon bryd, ryd raeadrflaen,
Balchder merch o'i bylchdwr maen."

Yna, disgrifia hi yn galw am y drych i edrych ynddo, ac i orffen, try i dduchanu'r drych ei hun. Perthyn i ddosbarth y cywyddau "dyfalu," neu ddisgrifio, y mae'r cywydd, ac felly, rhydd Fadog ymhlith y Teuluwyr, fel Dafydd ap Gwilym yntau. Tebyg yw'r ddau gywydd serch arall a briodolir iddo.

## GRUFFUDD GRYG.

Ychydig iawn eto a wyddom am Ruffudd Gryg, a hynny yn bennaf o'r cywyddau ymryson rhyngddo a Dafydd ap Gwilym. Casglwn oddi wrthynt mai un o Fôn oedd Gruffudd, a bod rhyw ddrwg ar ei leferydd, fel y gelwid ef yn

Gryg. Canodd Iolo Goch gywydd duchan i Ruffudd Gryg. Teitl hwnnw yn y copi sydd yn y British Museum (Addit. MSS., 14964), yw "Cywydd Duchan Gwyddelyn," ac ar ddiwedd y cywydd ceir y geiriau, "Gwyddelyn oedd Gruffydd Gryg, 'Gwyddelyn march cregyn cryg,' medd Iolo, Marwnad Ithel Ddu." Dywedir mai merch i ryw Ithel Ddu o Leyn oedd mam Gruffudd, ond Ithel Ddu o Fôn y gelwir y gŵr y canodd Iolo ei farwnad. Y mae'r cyfeiriadau hyn, sut bynnag, yn cadarnhau'r dyb mai un o Fôn oedd Gruffudd, fel y mae ei weithiau ef ei hun. Dywed Dafydd, yn ei gywydd ymryson cyntaf, mai Cynfrig oedd enw ei dad, a disgrifia ef fel un o Wynedd—

"Gruffudd, ddigudd ymddygiad,
Ab Cynfrig, Wyndodig dad."

Wrth ei ateb, y mae Gruffudd yn edliw iddo yntau ei gampau ym Mangor ac yng Ngwynedd, a Dafydd drachefn yn sôn am Ruffudd fel un o Fôn. Yn yr olaf o'i gywyddau ymryson, dywed Gruffudd fod iddo saith o gyfeillion am bob un i Ddafydd, yn Aberffraw, ym Môn. Ni ddywed traddodiad pa fodd y dechreuodd yr ymryson rhwng y ddau, ond edrydd sut y cymodwyd hwy. Wedi i'r ddadl barhau am gryn amser, dywedodd rhyw ŵr a elwid Bola Baiol y medrai ef eu cymodi. Aeth i Wynedd, a thaenodd y chwedl bod Dafydd ap Gwilym wedi marw. Clywodd Gruffudd Gryg, anghofiodd y ddadl, a chanodd farwnad ardderchog i Ddafydd. Trefnasai Bola Baiol i daenu'r chwedl yn y De fod Gruffudd Gryg yntau hefyd wedi marw. Clybu Dafydd honno yn ei dro, a chanodd yntau farwnad Gruffudd. Enwir Bola Baiol gan rai o'r beirdd ar ôl hyn, fel y mae'n rhaid fod y chwedl hon neu ryw chwedlau ereill am dano yn hysbys, a dengys y marwnadau naill ai bod y peth wedi digwydd, neu ynteu fod rhywun wedi dyfeisio'r ystori, a chanu'r cywyddau i ateb iddi. Dywed un traddodiad mai ym Môn y bu Dafydd farw, a bod Gruffudd wedi dwyn ei gorff i Ystrad Fflur i'w gladdu.

Y mae amryw gywyddau a briodolir i Ruffudd Gryg, heblaw'r cywyddau ymryson, ar gael. Yn Llawysgrifau Peniarth 77, 97, a 99, ceir tan ei enw "Cywydd Marwnad Rhys ap Tudur o Fôn." Yn un o'r ysgrifau, gelwir ef "Rhys ap Tudur ap Gronw, ewythr frawd i dad i Owen Tudur." Rhydd hyn i ni ryw syniad am amser Gruffudd. Ceir cywydd mawl arall o'i waith yn ysgrifau Peniarth 81, a 96, i feibion Ierwerth ap Gruffudd o Fôn. Enwa saith o honynt—Ierwerth, Gruffudd, Cynfrig, Llywelyn, Rhys, Hywel, a Meredydd. Yn ysgrifau Peniarth 72 a 112, priodolir iddo gywydd i Dduw, lle ceir y llinellau tlysion hyn i Grist:—

"Dwyn gofal ynial, ennyd,
Cyn 'i loes dros bumoes byd;
Rhoi am y tâl [talcen], rhwymiad dig,
Yn gwmpas, drain yn ganpig,
A gwaedu pob pigoden,
A briwo iâd mab Mair wen;
A'i gorff oll yn archollion,
Gyda'i friw, a gwaedu'i fron;
Am Grist yno bu'r tristedd,
Pan roed heb oed yn y bedd,
Ag eilwaith, pedwar gelyn
Oedd yno'n gwylio Duw gwyn.

Llawen a fu lu i wlad
O Fair, cadarn fu'r codiad,
A ninnau oll yn unod,
Llawen fyth y gallwn fod."

Yn ei gywydd moliant i ferch, Llawysgrif Peniarth 112, ceir llawer o linellau prydferth iawn, megis y rhai isod, yn disgrifio tlysineb y ferch a'i "deunaw haf"—

"Mae ar y tâl mawr, araul,
Meillion, calch, hoelion cylch haul;
Edef sidangorn ydiw
Dwy ael Gwen ar dâl gwiw;
Dwyn hefyd deunaw hafoedd
Golygon dduon ydd oedd,
Muchudd o liw, gyfliw ged,
Moreiddfyw mwyar addfed."

Ond i natur y canai Gruffudd oreu. Ceir cywydd i'r Lleuad ganddo yn Ysgrifau Peniarth 51 a 64, ac un arall i'r Don yn Ysgrifau 54 a 78. Lleuad Ebrill oedd y lleuad y canodd iddi, a than honno, bu agos ei foddi ef a'i was yn y môr. Duchana leuad Ebrill, gyda holl afiaith duchanau Dafydd ap Gwilym:—

" Symudaw lliw somedig
A wnei bob dydd, wyneb dig;
Cochi cyn gwynt, hynt hyntiaw,
Llwyd a glas, a llidio glaw;,
Cron drymlaw, crawen dremlwyd,
Criaw 'dd wyf, ai caru 'dd wyd?
Clwt awyr, clod it dewi,
Ai claf wyt, fursen, clyw fi!
Pwy o'th genedl, rwystrchwedl restr,
A gollaist, fflwring gallestr?
Nid oes dydd, un dremydd drych,
O ruddiau ia na roddych,
Awch nidr, o ucheneidiau,
Ai mil ai teirmil, o'r tau;
Pob uchenaid rynnaid ran,
A dorrai graig yn deiran!"

Yna trydd i erfyn am leuad Mai, ac i ganmol honno a'i mis gyda chymaint o afiaith ag a ddengys wrth ladd ar y llall:—

" Deuruddloyw fis dewisaf,
Dyred a'r haul, daradr haf,
Dwg unllong i deg iawnllwybr
I bill yr Ebrill oer wybr,
A Mai hudgai ehedgoed,
Er mwyn fy ngherdd it ermoed;
Dwg fi, uniownffordd, deg fis,
Dwg elw Sain Siam dy Galis;
Llonydd heb Ebrill anardd,
Lleuad Fai, llywia dy fardd!"

Yn ei gywydd i'r Don cawn hefyd linellau rhagorol, lle disgrifia wylltineb y môr gyda mwy o graffter a phrofiad nag a ddanghosodd odid neb o'r beirdd Cymreig:—

" Ei mwng a fwrw am angor
Ym mynydd merwerydd môr;
Y mae, neidr, a mi'n edrych,
Llid, oer ei gwrid, ar ei gwrych;
Yna daeth enaid y don
A dyfroedd am ei dwyfron,
I'm cyrchu'n uthr, dalluthr dwyll,
Megys sarff, ymgais orffwyll;
Rhestr o boer, rhwystr aberoedd,
Rhoes hwrdd i'm llong, rhoes flong floedd."

Ond wedi'r cwbl, cawn mai cennad ato oddi wrth ei gariad oedd y don anferth honno! Yna cawn ddarn sydd yn llawn o'r cyferbyniad mwyaf â ffyrnigrwydd y don. Dengys yn arbennig fod llawer o hyfrydwch prydyddu i feirdd Cymru yn y cyfnod hwn yn hyfrydwch celfyddyd cyferbyniadau sydyn, a dwyn y rhai hynny i mewn i swn a synnwyr y geiriau. Ac ar y gelfyddyd honno, ymddengys fod Gruffudd Gryg yn feistr.

## LLYWELYN GOCH AP MEURIG HEN.

Dengys arddull y gweithiau a briodolir i Lywelyn Goch ap Meurig Hen ei fod yntau'n perthyn i ddosbarth y Cywyddwyr cynaraf. Canodd Iolo Goch ei farwnad, a dywed ynddi eu bod ill dau yn gyfeillgar iawn a'i gilydd. Gan fod Iolo yn ei ddisgrifio ei hun fel " cleiriach " yn ei gywydd i Sycharth, ac nad oes sôn am Owain Glyn Dwr yng ngweithiau Llywelyn Goch, y tebyg yw ei fod ef yn hŷn nag Iolo, ac felly yn ddolen gynarach yng nghysylltiad yr hen do a'r newydd. Ceir chwe awdl tan ei enw yn y " Myvyrian," yn bennaf ar fesurau Toddaid a Phroest Cyfnewidiog. Moliant i wŷr mawr yw pump o honynt, a'r llall yn awdl i Dduw. O ran geiriau, cystrawen, a chynghanedd, cytunant â gwaith beirdd rhan olaf cyfnod y Tywysogion. Ond y mae hefyd ar gael ryw hanner dwsin o gywyddau y dywedir mai ef a'u canodd, a'r rhai hynny yn yr un arddull â chywyddau Dafydd ap Gwilym. Priodolir un o'r cywyddau hyn (" Cywydd y Llafurwr ") hefyd i Iolo Goch, ac o herwydd pwysigrwydd y llafurwr yn yr amgylchiadau y canai Iolo ynddynt, fel y cawn ddangos eto, y mae'n debycach mai ef a'i gwnaeth. O'r lleill, y mae un yn " Gywydd Gofyn Milgi " (Llawysgrif Peniarth 93), un yn " Dyfalu'r Eira " (Pen. 78 a 97), un yn Gywydd Mawl (Pen. 57), un yn Gywydd Serch (Pen. 57), a'r llall yn Gywydd Marwnad (" Y Flodeugerdd Newydd," W. J. Gruffydd). Y goreu o ddigon o'r rhai hyn yw'r olaf, a elwir " Cywydd Marwnad Lleucu Llwyd." Y traddodiad yw fod Llywelyn Goch yn byw yn Nannau, ger Dolgellau, a'i fod yn caru Lleucu, merch o Bennal, ar lan Dyfi. Ni fynnai ei theulu iddi ei briodi, a thra'r oedd yntau yn y De, dywedwyd wrthi ei briodi âg un arall. Torrodd Lleucu ei chalon a bu farw. Y mae'n amheus ai gwir yr ystori. Yn ei " Awdl i Dduw " (Myv. Arch., t.d. 532), cyffeddyf y bardd ei bechodau, ac y mae'n enwi canu cywydd Lleucu yn eu plith.

Cyn belled âg y gellir bod yn sicr am ystyr y geiriau, yr awgrym yw mai dychymig oedd y gerdd. Nid oes amheuaeth ychwaith nad aeth canu "Marwnad Merch," neu "Farwnad Cariad," yn draddodiad, fel canu Cywydd Gofyn neu Fawl. Pa un bynnag, y mae'r cywydd ei hun yn un o'r rhai goreu yn yr iaith, ac yn ein hargyhoeddi o gywirdeb teimlad ei awdur. Y mae'n anodd dyfynnu o hono, gan ei ragored trwyddo. Dywed y bardd fod yr haf a'r byd yn llwm iddo bellach; nid oedd yng Ngwynedd "na lloer, na llewych, na lliw," er pan roed y ferch oedd cyn deced â'r lloer yn ei bedd. Yna, trydd i siarad, megis, â Lleucu ei hun, a geilw hi "Y ferch wen o'r dderw brennol." Argraffwyd y ddau air olaf fwy nag unwaith fel pe baent enw lle—Y Dderw Brennol, ond ystyr "prennol" hyd heddyw mewn rhai lleoedd yn y De yw "cist," neu "flwch," felly, "arch dderw" yw meddwl y geiriau. Meddai'r bardd wrthi:—

"Y ferch wen o'r dderw brennol,
Arfaeth ddig yw'r fau, o'th ôl;
F'enaid, cyfod i fyny,
Agor y ddaearddor ddu,
Gwrthod wely tywod hir,
A gwrtheb f'wyneb, feinir."

Disgrifia ef ei hun uwch ben ei bedd, yn "wr llwm ei wyneb" hebddi, ac yn amddifad tra byddai, ar ei hôl, a hithau'n "dawedog, ddwysog, ddiserch" yn y ddaear. Dywed ei bod hi wedi addo ei aros o'r Deheudir, eithr ei bod wedi torri'r amod. Ond eddyf yn ebrwydd mai fel arall yr oedd—mai hi oedd "ar y gwir," ac yntau "ar gelwydd tragywydd trist." Ni wyddai beth a wnai:—

"Mi af o Wynedd heddiw—
Ni wn i ble, loywle liw;
Fy nyn fonheddig ddigawn,
Duw'n fach [h.y., yn feichiau], petud iach, nid awn!"

"Dyred, ffion ei deurudd,
I fyny o'r pridd-dy prudd."

(Ffion—bysedd cochion, bysedd y cwn, "Ffion i deurudd,' un a'i gruddiau o liw'r blodau hynny). Dywed fel y rhodiai o gwmpas ei bedd—

"Yn bwhwman rhag annwyd
Ynghylch dy dŷ, Lleucu Llwyd."

"Lleucu dlos, lliw cawod luwch," meddai am dani. Wylodd, meddai, nes bod ei ddagrau "ar hyd ei wyneb yn rhaff." A dyma fel y mae'n diweddu:—

"Tithau, harddlun y fun fud,
O'r tewbwll ni'm hatebud;
Pridd a main [meini] glain [gem] galarchwerw,
A gudd ei deurudd, a derw,
A gwrymdir [gwrym—tir] ag oer amdo,
A phrudd grys, a phridd, a gro;
Gwae fi fod arch i'th warchae,
A tho main, rhof [rhyngof] â thi mae;
Gwae fi, ferch wen o Bennal,
Breuddwyd oer briddo dy dâl [talcen]."

"Clo du derw, galarchwerw gael,
A daear, deg ei dwyael,
A thromgoed ddor, a thrymgae,
A tho maen, rhof [rhyngof] â thi mae,
A chlyd fur, a chlo dur du,
A chlicied—yn iach, Leucu!"

O'r cywyddau "Marwnad Cariad," dyma'r goreu. Y mae hefyd lawer o ffansi yn nisgrifiadau Llywelyn Goch o'r Milgi a'r Eira. Ni allai ond heliwr ganu'r llinellau hyn:—

"Nodwn lle mynnwn fy mod,
Anheddwn yn nhai hyddod;
Gwanwyn, â chorn i ganu,
Iechyd i ŵr â chi du!
Y ci dunos, cedennog,
Ag osai rudd, gwas yr ôg . . .
Medd-dawd danheddgnawd, hyddgnoi,
Mellten trum, amwyllt, yn troi. . . .
Ei ddaint fel y nodwydd ddur,
A'i ên ydoedd wnïadur;
Ni mynn i'r gwyllt, mwy na'r gwâr,
Ddianc, o cerdd y ddaear!"

Eto, nid oes ball ar ei ffansi wrth ddyfalu'r Eira yn toi'r ddaear:—

"Oer y caid llonaid pob llwyn,
Cnwd mawr, megis cnawd morwyn,
Er pan dynnwyd, wynllwyd wedd,
Yr hoel o fol yr heledd
I halltu âg eiry hylltaith
Lawr daear fawr, larder faith!
Pell o'm bodd im' ei ddioddef,
Peilliaid blawd hynafiaid nef;

Nythod i'r cribod, a'r crwybr,
Nithlen ni âd un noethlwybr;
Argoel dig ar gae brig brwyn,
Oer grwybr ar greiglwybr gruglwyn!"

## CYFNOD OWAIN GLYN DWR.

Wedi cwymp Llywelyn ap Gruffudd, fel y gwelsom, daeth cyfnod newydd, a blodeuodd y farddoniaeth natur a'r brydyddiaeth serch, na chynyddasai nemor ddim yn ystod cyfnod Beirdd y Tywysogion. Erbyn dechreu'r bymthegfed ganrif, yr oedd rhyfel arall wedi darllaw, a thebyg fod a wnelai'r beirdd gryn lawer â chadw yr ysbryd anibynnol yn fyw. Cyfododd Owain Glyn Dwr yn 1402, ac am rai blynyddoedd bu'r Cymry yn byw yn angherddol a pheryglus. Yr oedd gan Owain amcanion eang ac uchel, ac nid rhyfedd gael y beirdd o'i gwmpas yn ei gefnogi âg awen ac eirf. Un o'r blaenaf o feirdd Owain ydoedd

### IOLO GOCH.

Mewn rhai hanesion, disgrifir ef fel "Arglwydd Llechryd," a dywedir ei fod yn byw yng Nghoed Pantwn, Llannefydd. Enw ei dad oedd Ithel Goch ap Cynfrig. Dywed Gruffudd Hiraethog mai Iarlles Lincoln oedd ei fam. Os felly, tebyg mai mab ordderch ydoedd. Cafodd addysg, meddir, a chymerth radd yn un o'r Prifysgolion. A rhoi ei fod yn ddeg ar hugain oed pan ganodd farwnad Tudur ap Gronw yn 1367, gallasai fod yn fab i Alicia, gwraig Thomas, Iarll Lancaster, a ddaeth trwyddi hi yn Iarll Lincoln ac Arglwydd Dinbych, ac a ddihenyddwyd yn 1321; ac ni buasai ond deunaw mlwydd a thrigain oed yn 1415, pan gollwyd Owain Glyn Dwr,—peth haws i'w gredu na'i fod, fel y tybiai Ashton, wedi ei eni "yn nes i 1310 na 1335." Gwelwn ddiwedd yr hen gyfnod, fel yr awgrymwyd, a dyfodiad y newydd, yng ngweithiau Iolo. Perthyn ei awdlau, o ran geiriau, cystrawen, a chynghanedd, i'r hen gyfnod, megis awdlau Dafydd ap Gwilym, Gruffudd Gryg, a Llywelyn Goch ap Meurig Hen; ond y mae torreth ei waith yn y mesur cywydd. Ceir yn Llyfr Coch Hergest gywydd serch a briodolir iddo. O ran geiriau a chystrawen, y mae hwnnw'n tebygu i waith Beirdd y Tywysogion, ond y mae ei gynghanedd yn rheolaidd, a'i gynnwys yn cytuno â'r cywyddau serch diweddarach. Disgrifiodd ini sut yr oedd pethau yng Nghymru cyn rhyfel Owain Glyn Dwr. Meddai, yn ei gywydd i Rys Gethin:—

"Byd caeth ar waedoliaeth da
A droes aml o drais yma;
Lle bu'r Brython, Saeson sydd,
A'r boen ar Gymry beunydd."[1]

Rhoes ini hefyd ddisgrifiad o Sycharth, cartref Owain, fel yr oedd cyn y rhyfel. Safai ar ei dir a chylch o ddwfr o'i gwmpas. Yr oedd pont tros y dwfr, a phorth eang i fyned i'r llys. Gorffwysai'r plas a'i gyplau caboledig, ei glochdy Ffrengig, a'i gangell, ar bedwar piler mawr. Yr oedd ynddo naw neuadd, gyda llofftydd lawer, wedi eu toi â theils. Ceid yno hefyd eglwys a chapel. Gerllaw, yr oedd melin, a cholomendy âg arno dŵr main gloew; pysgodlyn llawn gwyniaid a phenhwyaid, a pheunod a chryhyrod o'i gwmpas; parc yn llawn cwnhingod a meirch. Byddai yno ddigon o weision yn dwyn pob rheidiau i bawb, "blaendrwyth cwrw Amwythig," gwirodau, bragodau, pob llyn, bara gwyn a gwin. Ni byddai yno byth ball am unpeth:—

"Anfynych iawn fu yno
Weled na chlicied na chlo. . . .
Na gwall, na newyn, na gwarth,
Na syched fyth yn Sycharth."

Yno y trigai Owain Glyn Dwr, dyn mawr a da, a chanodd Iolo iddo, gan ddangos sut un ydoedd. Disgynnai o hen linach urddasol, ac ni bu ei ddewrach erioed:—

"Barwn, mi a wn ei âch,
Ni bu barwn bybyrach."
"Gair mawr am fwrw y gŵr march
A gafas, pan fu gyfarch;
A gwympodd ef yn gampus,
I lawr âi 'i aesawr [tarian] yn us."

Eto, gŵr mwyn, caredig ydoedd, na wnaethai niwed i neb:—

"Ni ddug degan o'i anfodd
Gan fab, onid gan ei fodd;
Ni pheris, drwy gis [ergyd] neu gur,
Iddaw â'i ddwylaw ddolur."[2]

Gwelsoch ddyn yn cymryd arno ddwyn tegan plentyn. Dyma lun da o Owain, y gŵr a garai blant bach fel na fynnai eu tarfu, heb sôn am beri dolur iddynt; a dyma yn sicr beth a welodd yr hen fardd â'i lygaid ei hun. Gadawodd ini hefyd air am arglwyddes Sycharth, a'r plant:—

"A gwraig oreu o'r gwragedd,
Gwyn fy myd o'i gwin a'i medd! . . .
A'i blant, a ddeuant, bob ddau,
Nythaid teg o benaethau."

Y mae'r crafter a'r manyldeb hwn yn arbenigrwydd ar Iolo. Yn lle mawl traddodiadol beirdd y Tywysogion, wedi ei nyddu o "eiriau addurn" wrth reol, cawn ganddo olwg ar ei arwr ei hun, drwy rai o'r pethau bychain hynny a ddengys ddyn fel y bo—pethau na all yr un rheol ddysgu bardd i'w gweled na'u disgrifio.

Ond nid hir y parhâi tawelwch y bywyd hyfryd hwnnw yn Sycharth. Yr oedd y dymestl yn ymyl. Buasai Iolo, a llawer Cymro arall, yn breuddwydio ac yn brudio am fyd gwell. Nid hawdd penderfynu pa beth fu dechreu'r Cywyddau Brud. Yn hen wlad Gâl, y mae'n debyg, ac yn Iwerddon yn ddiameu, cyfrifid bod dawn broffwydo gan y beirdd. Ceir yn Gymraeg liaws o gerddi brud, na cheisiwyd eu dehongli eto, yn pwrpasu dywedyd pa beth a ddigwyddai yn y dyfodol. Y mae yn ddiau gysylltiad rhyngddynt â chwedlau Sieffre o Fynwy am broffwydoliaethau Myrddin. Ceir hefyd yn Saesneg gerddi brud yn dangos ôl yr un dylanwad, ac y mae yn un o gywyddau Iolo Goch brawf ei fod ef yn gwybod am danynt. Ond ni ellir olrhain hanes y cerddi Brud yma. Digoned dywedyd bod Iolo, fel ereill, yn breuddwydio am fyd gwell, am adfer anibyniaeth Cymru:—

"Cael arglwydd llawn arwydd llain
O honom ni ein hunain."

Pwy onid Owain fyddai hwnnw? Yr oedd yr Arglwydd Grey yn gormesu ar ei diroedd, ac yntau'n anesmwytho. Daeth seren wib i'r golwg yn 1402, a manteisiodd Iolo ar y digwyddiad i ddylanwadu ar ei gydwladwyr. Canodd i'r Seren—Seren Owain. Gwelwyd un, meddai, pan aned Crist; un arall yn amser Uthr. Dyma'r drydedd—

"Yn gannaid ruddel felen,
Yn gadr ei phaladr a'i phen."

Holai pobl pa beth oedd ystyr y seren. Yr hen fardd a wyddai:—

"Myfi a ŵyr, lwyr loewryw,
Deall hyn oll, dillyn yw;
Dur yw ei phaladr, neu dân,
A draig i'r gŵr darogan. . . . .
Brenin hael am win a medd,
Dewr, a gawn o dir Gwynedd."

Arwydd oedd hi, meddai Iolo, fod y Cymro a ddisgwylid—y "gŵr darogan"—ar ddyfod. Gwyddai Shakespeare am yr ystori hon, fel y dengys y geiriau a ddodes yng ngenau Owain. Cyfododd Owain yntau. Tyrrodd Cymry ato o bob cyfeiriad. Y mae gorfoledd yng ngeiriau Iolo bellach:—

"Llyma fyd, rhag sythfryd [trawster] Sais,
Mynych iawn y dymunais."

Ac yna, y mae'n annog Owain i ddial cam ei wlad. Gelwir un o'i gywyddau yn "Freuddwyd am Owain Glyn Dwr." Ar ffurf ymddiddan y mae, rhwng y corff a'r enaid, cynllun a ddaeth i fri ymysg y beirdd trwy ddylanwad chwedl "Gwidio a'r ysbryd," a rhai tebyg, a drowyd i'r Gymraeg rywbryd yn y ganrif cynt, y mae'n debyg. Yn wir, ceir yn yr Additional MS. 15,034, yn y Gywreinfa Brydeinig, "Ymryson yr Enaid a'r Corff," a drowyd o'r Lladin i'r Gymraeg gan Iolo Goch ei hun, meddir. Pan oedd Owain fwyaf ei rwysg, gweddïai Iolo drosto:—

"Pedr i'w borth, pa dir y bo,
Pwy mwy'i swydd? pumoes iddo!"

Ond aeth seren Owain tan gwmwl. Collwyd golwg arno. Ni wyddid pa le yr oedd. Canodd Iolo iddo eto, gan ei annerch a'i alw yn ôl. Ni ysgrifennwyd erioed eiriau mwy angherddol na'r alwad honno:—

' Y gwr hir ni'th gâr Harri,
Adfyd aeth! a wyd fyw, di?
Ag, od wyt, â gwaew o dân,
Dyred, dangos dy darian!
Deigr Cadwaladr Fendigaid,
Dyred, a dwg dir dy daid;
Dyga ran dy garennydd,
Dwg ni o'n rhwym dygn yn rhydd!"

Y mae egni a rhuthr ysblennydd yng ngeiriau'r cywydd hwn:—

"Dyred, ŵr a draeturwyd,
O Fanaw dir, f'enaid wyd!
Goreu arwydd gan Wyddyl,
Melyn a choch ym mlaen chwyl;
Urdda bensel Llywelyn,
Arddel hwy a'r ddeuliw hyn;
Galw ger bron—gwae Loegr o'i brad!—
Lu Brytaen [Llydaw], a'i lwybr atad!
Dere i'n gwlad, dur iawn gledd,
Deyrnaswr drwy ynysedd;
Cynneu dân, cyn oed unawr,
I oror Môn, eryr mawr!
Cûr gestyll, caerau gystudd,
Cwnceria wlâu cwn Caer Ludd!"

Felly y llafuriai'r hen fardd i gadw ysbryd ei gydwladwyr yn eiddgar. Ond o'r diwedd, aeth tynged yn erbyn Owain. Diflannodd fel drychiolaeth, na wybu neb byth i ba le. A adawyd yr hen fardd i edrych yn ôl ar y blynyddoedd cynhyrfus, ac i ganu ei ofid, ni wyddys. Mewn ysgrif sydd yn Llyfrgell Caerdydd, ceir ei enw wrth gywydd a elwir yn "farwnad Owain Glyndwr." Mewn ysgrifau cynarach, fodd bynnag, enw Gruffudd Llwyd ap Dafydd ab Einion sydd wrth y cywydd hwnnw, a chywydd mawl yw yn hytrach na marwnad.

Soniwyd eisoes am gywydd y Llafurwr. Yn hwnnw, clywir nodyn newydd mewn barddoniaeth Gymraeg. Y rheswm am hynny ydoedd ddyfod y Llafurwr yn ddyn pwysicach na chynt yng Nghymru. Dan yr hen gyfraith Gymreig, yr oedd y taeogion yn agored i orchymyn eu harglwyddi. Wedi dyfod yr ormes Seisnig, o'u gwirfodd yr ymladdent tros Owain. Gwelodd Iolo eu gwerth, a chanodd eu clod. Unwaith eto, rhydd i ni lun cywir a manylion craff am ddynion a welodd. Gŵr tawel oedd Llafurwr oes Iolo; talai ei ddegwm i Dduw yn ddirwgnach, medd y bardd; rhoddai gardod trwy gywirdeb, ac ni nacâi lety i neb. Ni buasai lun ar y byd hebddo ef a'i lafur:—

"Ni chair, eithr o'i weithred,
Aberth Crist [bara] i borthi cred,
Na bywyd—pam y beiwn?—
Pab nag ymherawdr heb hwn."

Cawn olwg ar ei arferion hefyd yn y cywydd hwn—peth prin gan y beirdd Cymreig:—

"Ni rydd farn eithr ar arnawdd [rhan o aradr],
Ni chair ar ei gyfair gawdd [llid]....
Aml draw y canai emyn,
Dilid [canlyn] y fondid a fyn....
Gŵr a'i anfodd ar grynfaen [maen crwn],
Gwas a fling y gŵys o'i flaen;
E fyn ei gyllell a'i fwyd,
A'i fwrdd ar fôn ei forddwyd....
Llaw Dduw cun [arglwydd], goreu un gŵr,
Llaw Fair dros bob llafurwr!"

Canodd Iolo lawer o gywyddau mawl a marwnad, yn eu plith rai i Dudur Fychan, o Benmynydd, Môn, a fu farw yn 1367, ac i'w feibion; i Ithel ap Robert, Dafydd ap Gwilym, a Llywelyn Goch. Nid oes lawer o gamp ar ei gywyddau serch, a bras iawn yw ei gywyddau duchan. Nid oes lawer o deilyngdod yn ei gerddi ar destunau amrywiol, megis "Y Farf," "Y Llong," "I yrru'r Bronrhuddyn yn llatai," ac y mae'n amheus ai efe bioedd y cwbl o'r darnau crefyddol a briodolwyd iddo. Y mae yn un o'r darnau hyn linellau urddasol i Dduw:—

"Arglwydd dad mad mawr,
Eurglo nef a llawr,
Erglyw fi, bob awr,
Gwawr gwirionedd."

Tebygai Iolo o ran meddwl i Sion Cent—yr oedd yn ddwysach na beirdd Cymreig y cyfnod cynt. Yn ei gywydd i'r Byd, dywed:—

"Y marw ni ŵyr ymorol
Am a wnaeth—y mae yn ôl;
Nid edwyn yn nodedig
Na phlaid trwm, na phle y trig."

Yr oedd y byd yn ddyrysweh iddo hefyd. "Dim ar y ddaear yw dyn," meddai, a gofynnodd oni buasai well pe nas ganesid:—

"Myfyr 'rwy yn ymofyn,
O Dduw, beth oreu i ddyn,
Ai 'i eni, er llenwi llid
Naws gwywnoeth, ai nas genid?"

Bardd bywyd a brwydr oedd Iolo, a'i ragoriaeth arbennig yw ei grafftor a'i gydymdeimlad. Sylwodd ar arferion plant. Cydnabu fod y llafurwr yn ddyn.

## GRUFFUDD LLWYD AP DAFYDD AB EINION LYGLIW.

Canodd Gruffudd Llwyd ap Dafydd ab Einion Lygliw yntau amryw gywyddau i Owain. Yn un o honynt (Llawysgrif Peniarth, 55), disgrifia druan gyflwr ei gydwladwyr dan ormes y Saeson:—

"Cymry, rhag maint eu camrwysg
Cenedl druain, fal brain brwysg. . . .
A fu isaf ei foesau,
Uchaf yw, mawr yw'r och fau;
A'r uchaf, cyn awr echwydd,
Isaf ac ufuddaf fydd."

Disgrifia eu rhwysg a'u llwyddiant cynt, a gofyn pwy oedd eu tywysog bellach. Etyb mai Owain Glyn Dwr, a rhydd glod i'w achau, ei gyfoeth, a'i haelioni.

"Os iach a rhydd fydd efô,
Ef a ennill pan fynno,"

meddai. Mewn cywydd arall, edrydd fel y bu'n fawr ei roeso yn llys Owain, ac fel yr hiraethai ar ei ôl pan aeth ymaith:—

"Agos i hiraeth, gaeth gad,
Am dwyn hyd farw am danad;
Nid aeth dy gof drosof draw,
Aur baladr, awr heb wylaw."

Yna daeth newydd iddo o rywle am orchestion Owain, a gwnaeth hynny ef yn llawen drachefn:—

"Pan oedd wannaf fy ngafael
Am danad, fab y tad hael,
Cefais, o ben rhyw gennad,
(Cof o ras Duw, cyfryw stad!)
Gael yn yr aer [brwydr], galon rwydd,
O honod fowrglod, f'arglwydd. . . .
Gwelas pawb draw, i'th law lân,
Gwir fowldaith gwaew rhyfeldan;
Drylliaist, deliaist, ar dalwrn,
Dy ddart hyd ymron dy ddwrn;
O nerth ag arial calon,
A braich, ag ysgwydd, a bron,
Peraist, fy naf, o'th lafur,
Byst mellt rhwng y dellt a'r dur."

Mewn trydydd cywydd, cawn gan Ruffudd Llwyd ddisgrifiad o Gymru pan oedd Owain ar goll. Y mae'n amlwg bod y cywydd hwn ar lun ymddiddan rhwng dau. Gofynnir i'r bardd gan y llall:—

"Mae dy ganuau, gau gân?
Mae'r ddraig, mae'r mawr ddarogan?
Mae'r llongau, mawr ollyngiad?
Mae'r gwr darogan, mae'r gad?"

Etyb yntau y deuai Owain yn ôl, fel y deuai'r llanw a'r lloer:—

"Addas yw i'r môr glas, glân,
Treio agos i'r traean,
Trosodd drachefn y treisia,
Tros fan y ddwylan ydd â;
Yr haul degach na'r hoewloer
A gudd ei deurudd, a dioer,
Yr ail awr, eurwawr wryd,
I'r lan dros bedwar ban byd."

## SION CENT.

Ceir traddodiad hefyd yn cysylltu Sion Cent âg Owain Glyn Dwr, ac un hyd yn oed yn dywedyd mai Owain ei hun ydoedd Sion. Y mae'n debyg mai achos hynny fu fod Sion yn gymeriad â rhyw ddirgelwch o'i gwmpas, a bod a wnelai â theulu Scudamore, o Kentchurch, pentref ar ffiniau Mynwy a Henffordd. Priododd un o deulu Scudamore ferch Owain Glyn Dwr, a thybir mai yn Kentchurch y bu farw Owain ac y claddwyd ef. Dichon mai oddiwrth Kentchurch y cymerth Sion ei enw. Dywed traddodiad ei fod wedi ei addysgu yn Rhydychen; mai athro diwinyddiaeth oedd; bod unwaith gan deulu Scudamore gopi o'r Bibl yn ei

law; ei fod yn fynach a chonsuriwr. Ceid gynt hefyd chwedlau ei fod wedi ei werthu ei hun i'r cythraul. Rhan o'r cytundeb, medd yr hanes, oedd bod ei gorff i fynd i'r cythraul os cleddid ef y tu mewn i'r eglwys neu oddi allan iddi. Mynnodd yntau ei gladdu tan fur yr eglwys, a thwyllo'r cythraul felly yn y diwedd. Adroddid ei fod, pan oedd unwaith yn cadw'r brain o gae ŷd yn Grosmont, ger Kentchurch, wedi cynnull yr adar i gyd a'u cau mewn ysgubor; ac mai'r cythraul, ar ei gais ef, a gododd bont tros afon yn yr ardal. Danghosid gynt yn Kentchurch y seler lle cadwai ei feirch awyr, gyda'r rhai y gallai fynd i'r fan a fynnai. Dywedir ei fod wedi ysgrifennu llawer o draethodau Lladin ar ddiwinyddiaeth a gwybodau ereill, ond nid oes dim o'r gwaith hwnnw yn hysbys. Y tebygrwydd yw mai mynach ydoedd, a wyddai lawer o bethau nas gwyddai pobl yn gyffredin, ac mai am hynny y dywedid ei fod wedi ei werthu ei hun i'r cythraul, fel y dywedid am Faustus. Ceir chwedlau cyffelyb yng Nghymru am Robin Ddu Ddewin a Dafydd Ddu Hiraddug.

Y cywydd a allai fod yn cysylltu Sion Cent âg Owain Glyn Dwr yw hwnnw a elwir "Gobeithio 'r Goreu i'r Cymry." Y mae'n gywydd da, a'i wahanol raniadau yn gorffen â'r llinell "Gobeithiaw a ddaw ydd wyf." Gallai fod wedi ei ysgrifennu pan oedd obaith i Owain lwyddo. Y mae'r awdwr yn sôn am fri a llwydd y Cymry gynt, gan dderbyn Hanes Sieffre am danynt, yna'n crybwyll eu codwm, ac yn gobeithio y deuai dyddiau gwell gyda "geni'r Daroganwr:"—

"Pennaf nasiwn, gwn, gwmpas,
Erioed fuom ni, o ras. . . .
A heddyw y'ch dyhuddir,
Ar drai, heb na thai na thir! . . .
Awr ba awr [o awr i awr] Gymru fawr fu,
Disgwyl yr ŷm, a dysgu;
Dydd bwy gilydd y gwelwyf,
Gobeithiaw a ddaw ydd wyf!"

Ond o'r deg ar hugain i ddeugain o gywyddau Sion Cent sydd ar gael mewn llawysgrifau, [amryw o honynt wedi eu cyhoeddi yng "Ngheinion Llenyddiaeth Gymreig," y "Cefn Coch MSS," "Y Flodeugerdd Newydd," a rhai o'r hen gylchgronau], ar destunau ffilosoffaidd a chrefyddol y mae'r rhan fwyaf. Os mynach oedd Sion, gwrthryfelodd yn erbyn yr offeiriadaeth ac ofergoel. Nid yw hynny ynddo ei hun yn ddigon i brofi ei fod wedi gwadu ei Gatholigaeth. Ceir dyhewyd goreu yr Eglwys Gatholig yn amryw o'i gywyddau:—

"Duw draw a'n gwnel yn llawen,
Gyda Mair, i gyd, Amen."

'Meddylio am addoli
I Dduw a'i fam ydd wyf fi."

"Od ai i nef, rhaid, yn wir,
Ffinio [talu dirwy] dros y corff anwir,
A thalu'r ffin Gatholig
Yn y tân o'r enaid dig."

Byddai anodd hefyd gael cywirach cyffes nag a ddyry o'i bechodau ei hun gynt:—

"Balchter, ymysg niferoedd,
Butra gwaith, bywyd drwg oedd;
Gyda balchter, f'arfer fu
Gwag weniaith, a goganu;
Cynfigen a fu'n llenwi,
Anghywir ffydd, fy nghorff i,
Llesgedd hyd fedd, ehud fum,
Diogi, mi a'i dugum,
A boddi mewn cybyddiaeth,
Ni chaent, O Dduw, chwant oedd waeth."

Ond, fel y gallesid disgwyl, hwyrach, gan ddyn a'i beirniadai ei hun mor llym, beirniadai ereill hefyd. Dywed un o'r cywyddau a briodolir iddo:—

"Llyma'r dallter arferwyd,
Delwau oedd well na Duw lwyd,
Rhoi addoliad, ar ddeulin,
A ddyly Grist, i ddelw grin."

Pe cymerem y Brawd Llwyd y dadleuai Dafydd ap Gwilym âg ef fel enghraifft o'r hen gyfnod cynt; Dafydd ei hun fel un a safai dros ei gyfnod yntau, a Sion Cent dros duedd arall, a aeddfedodd wedi hynny yn Buritaniaeth, caem ddeunydd astudiaeth a chymhariaeth ddyddorol dros ben. Gŵr trist iawn ei fryd oedd y Brawd Llwyd—tebycaf gŵr yn wir i'r Purit-

an, oedd mor anhebyg iddo hefyd. Ni fynnai ef i Ddafydd brydyddu na chanmol harddwch Natur na glendid merch. Ar y llaw arall, chwareuai Dafydd â holl ddefodau'r Eglwys yn ei gerddi. Aeth y wedd honno o edrych ar fywyd ar led ymhell. Ond daeth dylanwadau'r Wicliffiaid a'r Lolardiaid o Loegr, ac yng nghywyddau Sion Cent cawn beth tebyg iawn i'w hadlais. Os oedd ef yn drist, yr oedd hefyd yn llawer dyfnach na Dafydd a'i ddisgyblion. Fel hyn y canai Sion Cent i Henaint:—

"Di-eiddil a da oeddwn,
A chryf a gorwyllt, a chrwn,
A hefyd, esgud, ysgawn,
I ben yr allt buan yr awn;
Trin y bêl, a phob helynt,
A rhedeg fal gwaneg gwynt.
Heddiw, os i'r rhiw yr âf,
O arfeddyd [bwriad], hir fyddaf;
Lle bo'r gamfa ferra fach,
Llymsi fyddaf yn llamsach;
Ni chredir, nychu'r ydwyf,
Y rhodir mwy, rhydrwm wyf;
Un llun yw hun a henaint,
Yn ful gan ofal ag haint;
Ysgeiriau yn ysgyrion
Y sydd i'm ffydd, a dwy ffon;
Ysgwyddau anosgeiddig,
A chorff heb na lliw na chig;
Gleiniau fy nghefn a drefnwyd
Yn garreg craig, neu gorc rhwyd!
Rhyfedd yw'r ais, a'u rhifo,
Fal cronglwyd lle tynnwyd to!"

Gwelai ddulliau'r byd bron yn union fel y gwelai'r Brawd Llwyd hwy. Magl oedd harddwch a chariad. Hyd yn oed pan feddyliai Dafydd ap Gwilym o ddifrif am farw, cai gysur wrth gofio yr ai drwy'r Purdan i Baradwys. Nid oes ing yn ei sôn am angau, ond hiraeth trist—am yr harddwch a'r ieuenctid a gollodd, ac y mae'r atgof hwnnw yn rhoi rhyw wawr hudolus ar y tristwch ei hun. Colli ei ieuenctid oedd yn gwneud henaint yn drist i Ddafydd. Anhebyg iawn oedd Sion Cent. Iddo ef, nid oedd y pethau a gollwyd o nemor werth. Yn lle cofio'r pethau a fu, meddwl yr oedd ef am y tristwch a ddeuai:—

"Afraid i ddyn, derfyn dig,
Ei rwyf na'i ormod rhyfig;
Ni ŵyr Cristion aflonydd
Ba hyd yn y byd y bydd;
Heddiw yn arglwydd, rwydd ran,
Heno, mewn bedd ei hunan;
Gwae ydyw i bwynt gwedi bo
Unawr dan y pridd, yno;
Ni wisg sidan am dano,
Yn y llan, ond graean a gro;
Ni wêl serch, ac ni pherchir,
Ni phryn un tyddyn o'r tir;
Nid â'n ôl, ni chais olud,
Na gwin mwy'n y genau mud."

Gwylio bywyd yr oedd Dafydd; edrych arno; chwerthin am ben ei droion trwstan, a mwynhau ei lawenydd ysgafn. Ei feirniadu yr oedd Sion Cent; gweled yr ochr ddu iddo; y gŵr mawr yn "dwyn tyddyn y dyn dall, Ag un erw y gwan arall;" ac yna, gweled hwnnw yntau yn gorfod gadael y cwbl, a mynd

"I'r tŷ o glai a'r to glas,
A gwely o hyd gwialen,
A chau i borth uwch i ben."

Weithiau, dwg ar gof ini Horas—"Linquenda tellus, et domus, et placens uxor," medd hwnnw, ac ebr Sion yntau, gyda mwy o chwerwder fyth:—

"A llwybr gwag lle bu'r gwin,
A'i gog yn gado'i gegin,
A'i gŵn, yn ei neuadd gau,
A'i emys [meirch] yn ei amau;
A'i wraig o'i winllan adail,
Gywir iawn, yn gwra'r ail."

Bryd arall, pair i ni gofio Milton, megis yn ei ddisgrifiad o Lusiffer yn ei ogoniant a'i gwymp:—

"Uchaf angel, heb gelu,
Euraid ei fodd, erioed, fu,
A meistr oedd ym mwstwr Iôn,
Yngolwg yr angylion,
Tecach na'r haul; gythraul gi,
O'r diwedd bu oer dewi;
Cwympodd y cythraul campus,
Ef a'i lu aeth rhannu rhus."

Yn ei gywydd i'r "Farn,' ceir rhai llinellau tebyg iawn i rai Goronwy Owain ar yr un testun.

Bu ymryson rhwng Sion Cent a Rhys Goch Eryri. Yr oedd Rhys wedi dyfod o hyd i syniadau'r Cabalistiaid,

a'u dodi yn ei gerddi, ac am hynny yr ymosododd Sion arno. Nid yw cywyddau ymryson Rhys nemor gwell na'i dduchan i'r llwynog—pentwr o enwau drwg wedi eu clymu yn ddigon cywrain.

## RHYS GOCH ERYRI.

Honnir yn gyffredin bod Rhys Goch Eryri wedi canu i Owain Glyn Dwr, ond y mae aniscrwydd am flynyddoedd ei einioes ef. Yn ôl rhai cyfrifon, rhaid ei fod wedi byw gan mlynedd, os nad rhagor. Y tebyg yw ddarfod priodoli iddo waith rhai o'r beirdd Cochion ereill. Trigai yn yr Hafod Garegog, plwyf Beddgelert, a dywed traddodiad bod Owain Glyn Dwr unwaith wedi ymguddio yno rhag ei elynion, a dianc rhagddynt trwy ddringo craig serth. Ceir enw Rhys Goch wrth gywydd a alwyd yn gywydd marwnad i Owain, ond nid enwir Owain unwaith ynddo. Yn hwnnw, dywed Rhys:—

"Heddiw mae argae oergwm,
Hil Hedd mawr ar y llawr llwm;
A oes obaith i'n iaith ni,
Faith gof awdl, fyth gyfodi?
Oes, oes, cwynwn anfoes caith,
Bo iawn gwbl, byw yw'n gobaith."

Gallai fod "Hil Hedd mawr" yn cyfeirio at Owain. Yna, â ymlaen i broffwydo pa bryd y deuai cyfle eto. Os cymerir hyn ynglŷn â'i gywyddau brud ereill, y mae'n lled debyg ei fod wedi byw hyd ddechreu cyffro'r Tuduriaid, canys tebycach bod y cywyddau hynny yn cyfeirio atynt hwy nag at Owain Glyn Dwr. Eto, gallai fod sail i'r traddodiad am ei gysylltiad âg Owain, a chan y bu ymryson rhyngddo â Sion Cent, sylwn arno yma, heb geisio penderfynu cyfnod y naill na'r llall yn fanwl. Ychydig farddoniaeth sydd yng nghywyddau brud Rhys Goch, er bod peth o fawredd Eryri dan eira i'w gael yn yr "Ymddiddan rhwng Rhys Goch â Charnedd Llywelyn:"—

"Coronog, oediog ydwyt,
Cwynfan oer, cynefin wyt;
Llys y gwynt, lluosog wedd,
A lluwch ym mol y llechwedd; . .
Cais i'th ymgais o'th amgylch,
Cawod ag ôd yn dy gylch;
Cerwyn drom, coron dramawr,
Cyfrwy mal pibonwy mawr;
Cynnal goreugwal grugwellt,
Clochdy maith, esgobdy mellt;
Och rhag cyrn addurn eiddew,
Uchel wyd, bicyn rhwyd rhew;
Ffau'r blaidd, heb na gwraidd na gwrysg,
Ffrwyth dau canllwyth do cenllysg."

## BEIRDD EREILL Y CYFNOD.

Enwir beirdd ereill oedd yn byw yng nghyfnod Glyn Dwr gan Gruffudd Llwyd ap Dafydd ab Einion yng "Nghywydd y Cwest ar Forgan Hael." Ymddengys bod "Morgan Hael," neu Forgan Dafydd Llywelyn ap Phylip Trahaearn, o Ryd Odyn yng Nghaeo, sir Gaerfyrddin, wedi lladd rhyw ustus ar y fainc yng Nghaerfyrddin. Rhoed cyfraith arno am hynny. Y barnwr oedd i'w brofi oedd Syr Dafydd Hanmer, tad ynghyfraith Owain Glyn Dwr. Penodwyd ef yn farnwr yn 1388. Sonnir yn y cywydd am y brenin Risiart. Bu ef farw yn 1399. Felly, digwyddodd y trychineb y canwyd y cywydd o'i blegid rhwng 1388 a 1399. Cyflwynir y cywydd i Syr Dafydd Hanmer. Canmolir ef am ei wybodaeth o'r gyfraith, a gofynnir iddo ddyfod i Gaerfyrddin dros y brenin Rhisiart, a rhoddi prawf teg ar Forgan Hael. Enwir deuddeg bardd i fod ar y cwest. Ni thyngent anudon, meddai Gruffudd Llwyd, ac felly rhoent farn deg. Wele'r enwau:—

Gruffudd Llwyd ei hun: Gruffudd ap Rhys, o Wynionydd; Llywelyn Goch ap Meurig Hen, Rhys, Rhys fab Dafydd ab Ierwerth, Owain ap Dafydd, Is Coed, sir Aberteifi; [Llywelyn] Moel y Pantri; y Crach, y Cyw, y Posned, a Sypyn [Cyfeiliog?] Gwelir nad enwir uchod ond un ar ddeg. Yn yr Iolo MSS, ceir "Rhys a Dafydd fab Dafydd ab Iorwerth," ac felly cawn ddeuddeg. Sylwasom eisoes ar weithiau Gruffudd Llwyd a Llywelyn Goch. Ceir ychydig o weithiau rhai o'r lleill, megis y Posned a Sypyn Cyfeilliog yn y llawysgrifau. Yn awdl Sypyn Cyfeiliog i Ddafydd ap Cadwaladr, o Fachelltref, ceir y llinellau, a briodolwyd hefyd i ereill:—

"Dyred pan fynnych, croeso pan ddelych,
Ag wedi delych, tra fynnych trig."

Dywedir yn Llawysgrif Peniarth 81, mai yr un un oedd Sypyn Cyfeiliog, Bleddyn Ddu Was y Cwd, a Dafydd Amhadog Wladaidd. O ran arddull, perthyn y rhan fwyaf o'i weithiau, a welais i, i gampau geiriau diwedd cyfnod beirdd y Tywysogion. Nid oes dim barddoniaeth ynddynt.

Digwydd enw "Llywelyn ap y Moel" hefyd yn fynych yn y llawysgrifau, ond gan y canwyd ei farwnad ef gan Guto'r Glyn, rhaid ei fod yn ddiweddarach. Tebyg mai mab ydoedd ef i'r Llywelyn Moel o'r Pantri a ganodd y Cywydd i'r Fedwen, a geir yn "Llyfr Vicer Woking" (Llyfrgell Rydd Caerdydd). Y mae cynnwys y cywydd hwnnw hefyd yn ei gysylltu braidd â chyfnod y cywyddwyr cynaraf. Ceir ynddo linellau tlysion:—

"Glwys dy dwf, glas yw dy do,
Gwastad tanad yw'r tyno;
Siderog nen hwylbrenni,
Sylltu teg is allt wyt ti; . . .
Gosodiad, nid trwsiad drain,
Gwewyr goreuwyr Owain."

Dichon mai Owain Glyn Dwr oedd yr "Owain" y cyfeirir ato yn y cywydd hwn. Dywedir hefyd bod Rhys Goch wedi canu marwnad Llywelyn Moel, a thebyg mai ef oedd y Llywelyn a gyfarchai Rhys yn y cywydd Cabalistaidd hwnnw, lle rhydd hanes tarddiad yr awen:—

"O'r tair llythyren air teg,
Byw fur unrhyw fu'r anrheg;
Drwy unrhyw lythyr dro iawnrhodd,
O'n balch gelfyddyd a'n bodd,
Yr ysgrifennir wir wen,
Daw pyrth Duw, deuparth d'awen."

Bydd rhai yn dywedyd bod Ieuan ap Rhydderch ab Ieuan Llwyd a Gwilym ab Ieuan Hen wedi canu i Owain Glyn Dwr, ond yr oedd y blaenaf yn aelod o'r comisiwn a benododd Edward IV. yn 1461, i chwilio achau William Herbert, pan wnaed ef yn Iarll Penfro; a thebycach mai i'r gomed a ymddangosodd yn 1456 y canodd ef, ac nid i Seren 1402. Dywed y Dr. John Dafis hefyd mai tua 1460 yr oedd Gwilym ab Ieuan Hen yn ei flodau.

Yn Iolo Goch a Sion Cent, o leiaf, cynhyrchodd cyfnod Owain Glyn Dwr ddau fardd rhagorol.

---

## BEIRDD YMDRECH Y TUDURIAID.

Gwelsom fel y bu'r beirdd yn annog ac yn cefnogi Owain Glyn Dwr, ac yn galaru ar ei ôl pan gollwyd ef. Pan ddiflannodd Owain, gadawyd Cymru wedi ei deifio gan ryfel, a chanlyniad yr ormes anesgor. Gwnaeth y Saeson gyfreithiau yn gwahardd i'r Cymry brynu tiroedd yn agos i'r trefi caerog. Ni chaent fod yn fwrdeisiaid o unrhyw dref, na dal unrhyw swydd, na dwyn arfau. Ni chai Gymro brentisio ei fab i unrhyw grefft, na'i ddodi i ddysgu llenyddiaeth. Gwaharddwyd y Cymhorthau, a chyfrifid y beirdd yn droseddwyr. Dyma ddiwedd yr ymdrech faith; un rhes o symudiadau, y naill ar ôl y llall wedi addo rhyw lwyddiant o dro i dro, dan Ruffudd ap Cynan, Owain Gwynedd, Llywelyn Fawr, Llywelyn ap Gruffudd, ac Owain Glyn Dwr; a'r cwbl eto wedi methu, a'r un ormes wedi eu dilyn. Toresid ar draws twf yr elfen ramantus a flagurodd yn oes Dafydd ap Gwilym; darfu eto am yr elfen gymdeithasol a welwyd yng ngweithiau Iolo a Sion Cent. Gallesid meddwl bod popeth ar ben ar Gymru bellach, na chlywid fyth mwy ddim o ddigymar fiwsig yr iaith Gymraeg; na byddai eto gan fardd ddigon o obaith i ddychmygu iddo fyd gwerth ymladd trosto. Eto, ofer a fu hyn oll. Os na chai'r beirdd gyfarfod yn y Cymhorthau, fel cynt, daliasant ati i ganu, ac yn 1451, cafodd Llowdden, trwy ei berthynas, Gruffudd ap Niclas, gennad y brenin, Harri IV., i gynnal Eisteddfod yng Nghaerfyrddin i ddiwygio rheolau barddoniaeth ac i drefnu arferion y beirdd. Yn yr Eisteddfod honno, enillodd Dafydd ab Edmwnd y wobr am drefnu'r Pedwar Mesur ar Hugain. Y mae felly yn lled debyg mai gwahardd y Cymhorthau fu achos cychwyniad yr Eisteddfod. Nid oes sail hanesyddol safadwy i'r traddodiad am eisteddfodau cynarach nag un Caerfyrddin; ond yr oedd y beirdd, pa wedd bynnag, erbyn

1451, wedi adennill eu rhyddid, a daeth cenedl fach yn bwysig drachefn cyn bo hir, canys nid didramgwydd oedd llwybr Lloegr hithau. Yn 1449, collasai ei hawdurdod yn Ffrainc. Yn 1455, dechreuodd Rhyfeloedd y Rhosynnau. Yr oedd gwaed y Tuduriaid o Benmynydd yn nheulu Lancaster. Dechreuodd y beirdd Cymreig freuddwydio a brudio eto. Yr oedd yr " Haf " yn y dyfodol o hyd. " Gaeaf " oedd y byd fel yr oedd, a " Haf " fyddai'r byd a ddeuai. O deulu Tudur, bellach, yr oedd disgwyl " y gŵr darogan." Er darfod " Hanes Cymru " i'r " hanesyddion " yn 1284, ni bu Cymru erioed yn fwy byw; ni bu ei hanes erioed yn fwy dyddorol; ni bu ei llenyddiaeth erioed yn fwy egniol. Cymerwn olwg ferr ar rai o brif feirdd cyfnod ymdrech y Tuduriaid, i gwblhau'r astudiaeth hon.

## MEREDYDD AP RHYS.

Dywedir mai clerigwr oedd Meredydd ap Rhys, yn byw yn Rhiwabon, ac mai ef oedd athro Dafydd ab Edmwnd. Adweinir ef oreu fel awdur " Cywydd i ofyn rhwyd bysgota," yn yr hwn y buwyd yn tybio ei fod yn sôn am ddarganfod America gan Fadog ab Owain Gwynedd. Wele'r llinellau y seiliwyd y dybiaeth honno arnynt:—

" Madog wyf, mwyedig wedd,
Iawn genau Owain Gwynedd,
Ni fynnai dir, f'enaid oedd,
Na da mawr, ond y moroedd."

Pa beth bynnag a allai fod yr ystyr, nid oes yma unrhyw sôn am America, a gwyddis bellach ddarfod cyhuddo Llywarch ap Llywelyn o ladd Madog yn 1170. Dichon bod Madog yn gapten llynges i'w dad, ac mai rhywbeth felly oedd ystyr cyfeiriad Meredydd ap Rhys ato. Nid oes lawer o farddoniaeth yng nghywydd y rhwyd bysgota, ond y mae'n ddyddorol fel disgrifiad o arferion—a phrofiad—hen bysgotwr:—

" Hely'r wyf hoewal yr afon,
Ar hyd dŵr a dryll rhwyd don;
Gweled pysgod brig Alun,
Gwylio'r wyf, heb gael yr un!. . .
Efô'i praw, gwell gan fab Rhys
Eitha'r dŵr na thir dyrys;
Esgud yr af i'r afon,
A chael haf i chwilio hon."

Dengys y cywydd hwn ini mai gŵr yr awyr agored oedd Meredydd, ond yn ei gywydd i'r " Gwynt " y cawn ef ar ei oreu. Dwg hwnnw ar gof ini gerdd Taliesin a chywyddau Dafydd ap Gwilym ar yr un testun. Dyma fel y mae Meredydd yn cyfarch y Gwynt:—

" Tydi'r Gwynt, tad eira ag ôd,
Traws, cefn-hir, tros y cyfnod;
Anadl oer, anwadal wyd,
A'th wyneb a wnaeth annwyd;
Dianc yr wyd o'r deau
I berfedd y gogledd gau;
Oer yw d'aros o'r dwyrain—
Er Duw, cyrch i'r deau cain!"
" Yn wan, yn gryf, yn iownoed,
Yn ddrwg, ag yn dda erioed;
Un lled â'r byd, enbyd wyd,
Ag un hyd y'th ganhiadwyd;
Troed nid oes, nid rhaid, na dwrn,
Nag osgedd corff, nag asgwrn;
Ni'th aned o'r tudded tau,
Ni'th ludd ing, ni'th ladd angau."

Ar ei oreu hefyd, cyfyd uwchlaw ffansi droiog y beirdd Cymreig, a rhydd ini linellau llawn grym a pheth dychymig:—

" Piliwr adail, ple'r ydwyd?
Planed wyllt, pa le nid wyd? . . .
Ystent flin, estynnyt floedd,
Ysturmant yr ystormoedd;
Un dôn yw'r erddigan dau
Ag anadl y meginau;
Berw a dyrr craig, bwrdiwr kraff,
Blaidd wybr yn rhoi bloedd obraff;
Treisiaist goed am eu trysor,
Tymestl a mawrwestl y môr. . .
Cân brofiad dyhuddiad hwyr,
Cria ar hyd cwrr awyr!"

Yr oedd y bardd hwn yn un o frudwyr cyfnod ymdrech y Tuduriaid. Ceir un cywydd brud o'i waith ar ddelw ymddiddan rhwng y bardd a'r gigfran. Yn hwnnw, crybwyllir Edward:—

" Tarw ag aur tew ar i gyrn
Sy'n cadw Ynys y Cedyrn,
O daw'r gwyr yn dair gwart,

A chadarn yw braich Edwart;
Dwrn y brenin cadarnaf
A geidw yr hedd gwedi'r haf."

Gellid casglu oddiwrth y cywydd hwn mai cefnogwr i deulu Iorc oedd Meredydd, a bod y cywydd wedi ei ganu cyn dyfod Edward IV i'r orsedd. Mewn cywydd arall a briodolir iddo, cawn ei farn am y Llyfr Brud. Ymddengys ei fod unwaith yn ei gredu, ac yn gwerthu ei eiddo i brynu arfau ar gyfer yr ymdrech a ddisgwyliai, yn ôl y daroganau. Ond nid oedd y pethau a ddaroganwyd yn digwydd, a dyma fel y dyfyd y bardd ei feddwl am y Llyfr Brud:—

"Y brat llwyd ymysg brot llaid,
Brut hen lyfr y Brytaniaid;
Brwydr ar dir Camber ydwyd,
Brychliw dwrch, brycheulyd wyd. .
Beth a dâl ym d'obeithiaw?
Yn boeth y bych, hen beth baw! .
Y gŵr âg ysgrifen gau
A lanwodd dy ddalennau,
Am roi ynfydgerdd Merddin
Yn llowdr crwth hen lledr crin,
A'r Tarw Moel, llyma goel gwan,
I'n twyllo o'n tai allan;
Ffol yw dy siarad, brad breg,
Ffol o eiriau ffiloreg;
Addaw i'r bobl a wyddyn
Fyd da, ag heb ddyfod hyn;
Cred fi na rown welltyn crin
Er myrdd o eiriau Merddin."

Dengys y geiriau hyn fod Meredydd ap Rhys o leiaf, yn ansicr am gywirdeb y daroganau, a cheir cywyddau tebyg gan rai beirdd ereill. Eto, nid oes amheuaeth na ddefnyddiwyd y brudiau yn helaeth at amcanion gwleidyddol, yn arbennig at godi'r Cymry ymhlaid y Tuduriaid. Anodd penderfynu faint oedd cred y beirdd ar y daroganau, yn enwedig yn eu manylion, ond nid oes amheuaeth na chredai'r rhan fwyaf o honynt, beth bynnag, y traddodiad yr adenillai'r Cymry goron Lundain.

## DAFYDD NANMOR.

Y mae traddodiadau yn cysylltu Dafydd Nanmor â Rhys Goch Eryri. Yn ôl un ystori mab ordderch i Rys ydoedd, ac wedi gweled bod dawn ynddo, cymerth Rhys ef ato, a dysgu rheolau barddoniaeth iddo. Yn ôl ystori arall, cafodd Rhys hyd iddo yn cregina ar y Traeth Mawr, a dywedodd wrtho, "Oer yw'r hin i gregina." Atebodd y bachgen yn ebrwydd: "Yr un yw'r haul rwan â'r ha." Am hynny, mabwysiadodd Rhys ef. Dywedir hefyd bod Dafydd yn eisteddfod Caerfyrddin, yn 1451, a'i fod yno wedi dangos mwy o orchest ar gerdd dafod, a mwy o wybodaeth am ddefodau llysoedd Tywysogion Cymru, na neb arall. Y mae'n debyg oddiwrth ei enw mai brodor o'r Eryri ydoedd, ond fel y dengys ei weithiau, daeth i gysylltiad â rhai o deuluoedd pendefigaidd Ceredigion. Gellir rhannu'r cerddi a briodolir iddo yn dri dosbarth, sef Cywyddau Brud, Cerddi mawl a Marwnad, a Chywyddau Serch. Mewn rhai ysgrifau, priodolir i Ddafydd Llwyd rai pethau a geir tan ei enw ef mewn ereill. Ymddengys, sut bynnag, ei fod yntau yn un o gefnogwyr y Tuduriaid, a'i fod wedi canu cywyddau brud o'u plaid. Mewn un awdl a geir yn "Llyfr Elis Gruffudd" a "Llyfr Vicer Woking" (Llyfrgell Caerdydd), sonia am arwyddion yr haul a'r sêr, a ddanghosai fod rhyw ddigwyddiadau mawrion yn agos. Canodd hefyd awdl i Harri'r Seithfed, yn erfyn nawdd holl saint yr ynys arno, ac yn nyddu eu henwau yn benillion cynghaneddol gyda medr a chywreindeb mawr, fel y dengys y llinellau hyn:—

"Henaint o ran saint yr ynys hon
I Harri a'i adel yn hir oediog;
Mair, Gabriel, Sariel, Tomas, Iriel,
Mihangel, Iriniel a fo rannog;
Nawdd Bened, Barned, yn y lle i barno,
Brothen a Sulien a sain Silin,
Buan, Celynin, Beuno, Celynog
Cynin a'i weision, Cynan, Asa."

Canodd gerddi mawl i Rys o'r Tywyn; Tomas, Arglwydd y Tywyn; Dafydd ap Rhydderch ab Ieuan Llwyd o Ogerddan; Dafydd ab Ieuan ab Einion; Dafydd Llwyd ap Dafydd ap Rhydderch o Ogerddan; William Northylon, o Uwch Aeron, ac ereill. Byddai raid chwilio llawer iawn i egluro ei holl gyfeiriadau hanesyddol a chwedlonol yn y cerddi hyn, ac yn y cywyddau brud. Dynion hael ac ymladdgar, ac o achau

da, oedd ei arwyr i gyd; ac y mae enwau a gorchestion hen frenhinoedd a phenaethiaid Gwynedd, Powys a Deheubarth at ei law, i gymharu ei arwyr â hwynt, yn gystal âg enwau marchogion y rhamantau Arthuraidd, ac enwau'r saint trwy'r oesoedd. Rhydd ei ddisgrifiadau oleuni dyddorol ar fywyd ac arferion yr hen deuluoedd pendefigaidd. Yr oeddynt yn ddewr a dibris, yn falch o'u hachau, ac yn hael o'u bwyd a'u diod. Prin y cawn yn ei waith ddim o'r manylion personol a gawn gan Iolo Goch, ond y mae ganddo gyfoeth o'r ormodedd sy'n nodweddu cymaint o farddoniaeth Gymraeg. Wrth ddisgrifio gwledd a roes Rhys o'r Tywyn, dywed:—

"Pe bai gan mil, yn ddilys,
O erydr rhif ar dir Rhys,
A thrychan gwinllan a gwin,
Ag yn malu gan melin;
Pe bai'r ddaear yn fara,
Neu flas dwfr fal osai da,
Yn y wledd, rhyfedd barhau
Dwr a daear dri dïau!"

Gwledda a rhyfela oedd y bywyd a ddisgrifiodd Dafydd, ac yn y dull hwn y gwnaeth hynny. "Graean yr eigion a gryn rhagot!" meddai am un o'i arwyr. Ond y mae mwy nag un peth newydd yn ei waith hefyd. Priodolir iddo "Gywydd Damon a Phythias"—un o'r pethau prinion iawn hynny mewn barddoniaeth Gymraeg, sef ystori ar fesur cerdd. Yr hen chwedl honno ydyw am Ddionysius, y gormeswr o Syracuse, yn condemnio Damon i farw, eithr yn caniatau iddo fyned adref i ganu'n iach â'i deulu, ar yr amod bod rhywun yn myned yn feichiau drosto i ddioddef yn ei le oni ddelai ef yn ei ôl. Cymerth ei gyfaill, Pythias, ei le, ac agos iddo orfod marw dros Damon am fod hwnnw yn hwyr yn dychwelyd. Os cymherir y cywydd hwn â cherddi ereill Dafydd Nanmor, gwelir ei fod yn llawer llacach, a mwy diofal ei gelfyddyd:—

"Dwedai Phyddias, dewrwas da,
'Damon, pam y doi yma?'
Yntau ddwedai 'Heb fantais,
Ni chei farwolaeth, na chais.
Wrth y gyfraith faith, myfi,
Dwl iawn ben, dylwn boeni.'
Y brenin barai'i einioes,
Gwelodd, fe glwyfodd â gloes,
Y ffyddlondeb, rhwydd-deb rhodd,
Power dyn a'i pardynodd."

Anodd meddwl mai'r un un a ganodd y cywydd hwn, a'i eiriau llanw, âg a wnaeth y cerddi ereill. At hynny, priodolir y cywydd i Thomas Prys yn y "Cefn Coch MSS," ac y mae ei arddull yn llawer tebycach i waith hwnnw, ac i'w gyfnod, nag i waith a chyfnod Dafydd Nanmor. Eto, rhaid cydnabod bod Dafydd yn rhywfaint o ddiwygiwr hefyd. Ni ddewisodd gadw yn llwyr at y Cywydd Deuair Hirion. Canodd ar fesur Gwawdodyn Byr—y goreu o'r pedwar ar hugain—ac y mae digon o symudiad yn ei linellau:—

"Aed nen ffurfafen fferf, fawr, a'r
dwr oer,
Ar ei ôl, a'i lloer, a'r haul, i'r
llawr;
Tristed ei weled ar ei elawr gref—
Truan fu y llef trwy nef a llawr!"

Ceir ganddo hefyd fesur nad yw'n un o'r pedwar ar hugain o gwbl, nag i'w gael ychwaith, hyd yr wyf yn cofio, ond ganddo ef. Mesur yw hwnnw o linellau deuddeg sillaf bob un, ac y mae llawer o ynni a grym ynddo:—

"Ni bu'n oes y cewri un byw nas
curud,
Neu belydr nas arhoest; ni bu leidr
nas rhestud;
Ni bu leifiau gloywon, na blifiau a
glywud,
Ni bu o'r [holl] oes hon wynebwr
well ei sud;
Ni bu'r gwr a wnelai, er bwrw gwr,
a wnelud;
Ni bu i'n oes, hyd hyn, un bwa nas
tynnud;
Ni bu wr a fwriai'r un bar a arferud."

Ond er cael y pethau newyddion hyn ganddo, eto, cadwodd at yr hen draddodiad trwy ganu darnau hirion o'r ddwy awdl hyn ar yr un odl—peth sy'n gwanychu llawer ar eu heffaith. Yn ei gywyddau i ferched y mae ei bethau prydferthaf, ac at y rhai a geir yn y "Gorchestion" a'r "Ceinion," y mae ereill mewn llawysgrifau cyn dlysed â hwythau. Cymerer ei "Gywydd i'r

Cae Bedw" yn engrhaifft. Dengys hwnnw ei hun mai cywyddau Dafydd ap Gwilym a gododd yr hwyl ar Ddafydd Nanmor:—

"Ni byddaf, mwy na Dafydd
Ap Gwilym, heb gwlwm wydd,"

meddai; ond yr oedd Dafydd Nanmor yn drech hyd yn oed na'i gynddelw yn y cywydd hwn. Y mae pob llinell ynddo yn berffaith o ran celfyddyd, a'r cwbl mor dlws â breuddwyd:—

"Lluniais oed mewn llwyn o serch
A meillionwydd mewn [?im] llannerch,
Y fun lwys, o fân laswydd
A wnaeth gae, o fanwaith gwydd;
Ni wys, am y cae a wnaeth,
Ai dail yw, ai hudoliaeth;
Athrawiaeth a wnaeth yn [n]ail,
Athrawiaeth faith ar wiail;
Gŵyr y saith, ar y groes, wau,
Gelfyddyd, gwiail foddau;
Da iawn y gŵyr, dan y gwydd,
Droi gwielin drwy'i gilydd;
Y ferch a'i cêl dan fraich cainc,
A roes gae o wrysg ieuainc,
Croesgae o frig gwrysg y fron,
Cae a eiliodd fal calon."

Sylwer yn arbennig ar ei arfer o drychu ymadroddion, fel y ceir yn y pennill hwn:—

"Gŵyr y saith, ar y groes, wau,
Gelfyddyd, gwiail foddau."

"Saith gelfyddyd" yr hen ysgolheigion yw ei gyffelybiaeth, a threfna'r geiriau fel pe buasai'n canu gwers Ladin. Y mae cofio'r trychu hwn ar ymadroddion yn gymorth yn fynych i ddeall cystrawen y cywyddau.

Eto, yn ei "Farwnad Merch," er mai traddodiadol yw'r testun, yn ôl pob tebyg, megis gwaith Llywelyn Goch, Tudur Aled, a llawer ereill, cawn linellau tlysion a dwys, megis y rhai hyn:—

"Os marw yw hon is Conwy,
Ni ddyly Mai ddeilio mwy!
Och im', pe marw chwemwy,
O bydd'i math mewn bedd, mwy;
Och, Duw tad, o chuddiwyd hi,
Nad oeddwn amdo iddi!
Och fi'n awr na chawn orwedd
Gyda bun dan gaead bedd!"

Anodd hefyd a fyddai gael dim tlysach na'i ddisgrifiadau o wallt Llio:—

"Llio eurwallt, lliw arian,
Llewych mellt ar y lluwch mân. .
Mae o'r un wallt, am war Non,
Ar fronnau'r môr-forwynion. . . .
Ai plisg y gneuen wisgi,
Ai dellt aur yw dy wallt ti?
Mae'r gwallt mwya ar a gaid,
Am ei gwar, fal mwg euraid
N'ad, Duw gwyn, er mwyn tw gwallt,
Farw Llio frialleuwallt!"

Nid rhyfedd bod y beirdd yn sôn am Ddafydd Nanmor fel eu "hunmeistr." Dengys y dyfyniadau hyn ei fedr arbennig, a cheir yn y llawysgrifau lawer o gampau iaith a chynghanedd a briodolir iddo.

## TUDUR PENLLYN.

Un o ysbrydion tymhestlog ymdrech y Tuduriaid oedd Tudur Penllyn. Yn ôl awgrym Owain ap Llywelyn Moel yn ei farwnad, brodor o Lanuwchllyn ydoedd—

"Llyna dir, lle nid araul,
Llanuwllyn Penllyn heb haul."

Buasai hanes ei fywyd yn ddiameu yn rhamantus—gellir casglu cymaint a hynny oddiwrth weddillion ei weithiau. Dengys ei farwnad gan Owain ap Llywelyn Moel ei fod yn hysbys trwy Gymru fel bardd a brudiwr. Geilw Owain ef yn "frut," "proffwydwalch," "llen gêl," a "llyfr anoeth," neu "lyfr dirgelwch." Y mae'n amlwg bod y brudwyr yn meithrin y gred eu bod yn gallu dewino, ac yn ysgrifennu yn gudd i ddangos eu medr. Manteisient ar ymddangosiadau naturiol i brofi eu dawn. Y mae gweddillion hen sêr-ddewiniaeth yn y peth—canodd Iolo, fel y gwelsom, a chanodd ereill wedyn, i'r sêr darogan. Termau'r hen ddewiniaeth sêr a arferant—y gaeaf, y gwanwyn, a'r haf. Aeth y traddodiad hwn i lenyddiaeth Lloegr, fel y cysylltodd Shakespeare ef âg Owain Glyn Dwr ei hun—

'At my birth,
The front of heaven was full of fiery shapes;
The goats ran from the mountains, and the herds
Were strangely clamorous to the frightened fields.'

Cynt ac ar ôl hynny, Merlin oedd dewin mawr Ewrob. Gwyddai Drayton am dano, fel y dengys y Polyolbion. Aeth Iolo yn ddewin yn y traddodiad Saesneg, ac oddi wrth ei enw, dychmygwyd iddo fantell goch, a rhyw ddewiniaeth ynglyn â hi. Pa faint ynte oedd y gred ar bethau o'r fath yng Nghymru ei hun? Dengys cannoedd o gywyddau faint dylanwad y Brudwyr. Anodd meddwl nad oedd llawer ohonynt yn credu yn eu dawn eu hunain. Credai'r bobl gyffredin hwynt. Esgeulusent eu gwaith i ddisgwyl rhyw ddigwyddiadau hynod. Aethai'r peth yn ddigon gwrthun yng ngolwg Meredydd ap Rhys, megis y gwelsom, fel y canodd dduchan i'r Llyfr Brud.

Un o'r brudwyr hyn yn arbennig oedd Tudur Penllyn. Mewn rhai ysgrifau ceir ei enw wrth bethau a briodolir mewn ereill i Lewis Glyn Cothi, megis "Cywydd Saeson y Fflint," ac awdl i Reinallt ap Gruffudd. Y mae'r cywydd uchod yn debycach i waith Lewis, ond delw Tudur sydd ar yr awdl. Dechreua drwy alw ar Reinallt i ddial ar drigolion Sir Gaerlleon am rywbeth a wnaethant. Ymddengys ei fod yntau wedi gwneuthur hynny, canys disgrifia Tudur yr helynt a fu. Enwa amryw o'r rhai a laddwyd yn yr ymladd, ac y mae dirmyg aruthr yn ei gyfeiriadau atynt:—

"Curwyd Wil a'i bac, a Siac a Sion,
Llas Twm â gordd blwm, fel blowmon
mewn cors,
Llas Siors a'i hors, ni wnai hirson."

Nid oes farddoniaeth mewn peth fel hyn, ond y mae'r manyldeb personol a geir gan Dudur Penllyn yn arbenigrwydd arno. Canodd awdl arall i Reinallt, "wedi iddo ladd gwyr Caerlleon." Y mae honno yn llawn o ffyrnigrwydd, a serthedd ymadrodd yr oes. Y mae rhyw erwindeb, a fuasai'n clafychu llawer o bobl cyn dechreu Awst, 1914—ac na all lai na chael yr effaith honno ar rai o honom eto,—yn ei chreulondeb cignoeth. Dyma'r olwg oedd ar wŷr Sir Gaer wedi dialedd Rheinallt:—

"Camlan, wrth y tân, tynion fu pennau,
Crimogau, trwynau fal uwd rhynion;
Curo'r llu yno â llinon wewyr,
Y rhai'n, fy eryr a'u rhoi'n feirwon."

Yr un un oedd y ffasiwn yn yr oes honno âg yn hon, hefyd, ar ôl gorchestion o'r fath:—

"I Ddewi, offrwm addawaf, a Non,
Er ordro Saeson i'r drws isaf."

Bywyd y gwylliad oedd hwn, a rhaid bod Tudur yn gynefin â'r rhai oedd yn ei fyw. Rhydd ei gywydd Moliant i Ddafydd ap Siencyn ini olwg ar fywyd gwyllt dynion dibris yn y coed a'r creigiau, dynion a'u bywydau yn eu dwylaw bob dydd, a dim ond eu dibrisdod rhyngddynt â marwolaeth. Yr oedd swyn yn y bywyd hwnnw i Dudur, a llwyddodd i'w gyfleu yn ei gerdd—swyn antur ddibris a rhyddid peryglus:—

"Dy gastell ydyw'r gelli,
Derw dôl yw dy dyrau di. . . .
Gwylia'r trefydd, celfydd call,
A'r tiroedd o'r tu arall;
Da yw secwndid y dydd,
Gwell, ŵyr Cadell, yw'r coedydd;
Da yw ffin a thref ddinas,
Goreu yw glyn, a'r graig las;
Da oedd bardwn dydd bwrdais,
Ac nid oedd waeth saeth rhag Sais!"

Canodd un cywydd i "Ruffudd Fychan, pan oedd yn Iâl gyda Harri Seithfed." Ond nid bardd gwleidyddol yn unig ydoedd Tudur ychwaith. Rhydd ei gerddi lawer o oleuni ar arferion a syniadau ei oes. Os byddai wrthi â'i holl egni yn ei gyrru'n ddrwg rhwng y Cymry â'r Saeson, byddai hefyd yn cymodi'r Cymry â'i gilydd. Canodd gywydd i Ruffudd o Lwydiarth i'w gymodi â'i fab, wedi iddo ddigio wrth hwnnw am ryw dro a wnaeth yn ei ieuenctid. Nodweddiadol iawn o ddiystyrrwch y beirdd Cymreig at ffeithiau cyffredin yw na rydd Tudur ddim manylion am y ffrae, dim ond canmol y tad a'i fab, a'r fam, a dymuno eu cymodi; ac oni wnaent hynny, dywed y duchanai yntau hwy, ac yr ai i Nannau, lle cai roeso. Dro arall, cân "Gywydd Cymod i Feredydd ap Llywelyn o Enau'r Glyn." Rhyngddo ef ei hun â'r gŵr mawr y bu'r ffrae y tro hwn, ond ni ddywed i ni eto pa beth oedd yr helynt, amgen na'i fod ef wedi torri ei addewid i ymweled â Meredydd. Ond gwyddai Tudur sut i gymodi, drwy gyfrwng y merched:—

"Nid rhaid im', i'r tir y dof,
Ond rhoi Esyllt hwn trosof;
Barned hi a Maredydd,
Ag yn y tŷ gwnawn oed dydd."

Canodd i lawer o wŷr mawr, gan ganmol eu hurddas a balchter eu hachau. Yn ei "Gywydd Moliant yr hen Huw Conwy o Fryn Euryn," cawn ddisgrifiad hyawdl o waith maen yr oes, fel y gwelai Dudur ef:—

"Mur mal y graig ym Merwyn,
Maen nadd i gyd, mynydd gwyn;
Mae'r deri rhom â'r dwyrain,
Wrth yr haul, ar wartha rhain."

Paentiwyd y parwydydd yn gywrain, meddai, â lluniau coed a blodau:—

"Bwriwyd in', er byrhau dydd,
Baradwys ar barwydydd;
Bernos yw hirnos yn hon,
Bwrw gwinwydd, siambrau gwynion."

Ym "Marwnad Mallt ferch Hywel Sele," cawn olwg arall ar yr un bywyd. Disgrifia'r wledd a fyddai yn Llwydiarth y Nadolig—gwin a medd, aur ac arian, a cherddorion medrus. Yn ei Gywyddau Gofyn, ceir y gamp ddyfalu mewn cypledau, a llawer o ryw ffansi ac afiaith troiog, er nad oes yn y gwaith nemor ddim gwreiddiol iawn—hynny yw,ceir yr un cyffelybiaethau gan feirdd y Cywyddau Gofyn yn gyffredin. Y mae ei ddisgrifiad o'r Tarw cystal â dim o'i waith yn y math hwn ar ganu:—

'Blew du, ffyrf, fal dwbled ffwl,
Trymlais, tew rownbais, trwynbwl;
Gwallt uchter iâd, gwylltwych drem,
Gwddf unllath, a gwaedd feinllem;
Dau bost ar wastad ei ben,
Mal yn dyrau ymlaen derwen."

Tebyg mai amaethwr ydoedd, canys mewn cywydd a ganodd Guto'r Glyn, yn disgrifio ei helynt ei hun yn ceisio gwerthu ŵyn degwm person Corwen yn Lloegr, cyhuddir Tudur Penllyn o'i dwyllo ar fargen, a cheir cywydd ateb gan Dudur yn edliw i Guto mai nid colli'r ŵyn a wnaeth, fel y dywedai, ond eu gwerthu a chadw yr arian. Y mae disgrifiadau Tudur o fywyd cyffredin yn llawer mwy byw na'i ddisgrifiadau o fywyd y cyfoethogion. Yn ei dduchan i ryw gybydd o Gaer, cawn holl graster arferion ac iaith yr oes. Dywed bod y cybydd hwnnw

"Yn twyllo clêr niferoedd
I'w dŷ, rhag mor galchaid oedd."

Yna, disgrifir y tŷ, y gŵr a'r wraig, a'r gymdeithas yno, yn ddigon byw a gerwin. Yr oedd y wraig yn "rhostio cegyrn," ac yn cynnyg iddo yntau afalau surion. Daeth y gweision i gael bwyd, a dechreuwyd clirio'r bwrdd, lle'r oedd y

"gadr aradr-swch,
A'r did lle rhwymid yr hwch."

Ar y bwrdd hefyd yr oedd penffest, ystrodur, rhaff, panel, tresi, mynci, a phob math o daclau. Ar ol bwyta, galwodd y gŵr ar ei deiliwr, gan roddi telyn iddo, ac yna—

"Canu rhinc o'r cenau rhonca,
Yn ffest ar ôl bresych ffa."

Tebyg yw'r bywyd a ddisgrifir yn ei gywyddau ymryson âg Ieuan Brydydd Hir. Y mae'r iaith yn fras, a'r arferion yn eirwon. Canu'r Glêr oedd hwn, a'i amcan arbennig oedd duchanu, a gosod popeth yn ei ffurf wrthunaf. Mawr y gwahaniaeth rhwng y bywyd hwn â moesau mirain y Mabinogion, ac hyd yn oed â bywyd yr awyr agored yng ngherddi Dafydd ap Gwilym.

## DAFYDD LLWYD AP LLYWELYN AP GRUFFUDD.

Brodor o Fathafarn, plwyf Llanwrin, Cyfeiliog, oedd Dafydd Llwyd ap Llywelyn ap Gruffudd, a dywedir bod ganddo eiddo o bobtu i afon Ddyfi, uwch law Machynlleth. Y mae'n amlwg oddi wrth y cywyddau a geir tan ei enw ei fod yn ŵr blaenllaw yn ymdrech plaid y Tuduriaid cyn dyfod Harri Rismwnt i'r wlad; a chawn yn ei waith olwg weddol glir ar wleidyddiaeth teulu Lancaster, a'u dulliau i gyfodi Cymru a gogledd Lloegr o'u tu. Rhydd Dafydd Llwyd ini hefyd olwg ar lawer o arferion bywyd Cymru yn ei oes. Dengys bod pobl o'i ddosbarth ef, o leiaf, yn berffaith hysbys o brif symudiadau'r pleidiau gwleidyddol yn y deyrnas, ac nad oeddynt anwybodus am yr hyn oedd yn digwydd ar y

Cyfandir. Gwelsom fel y cydymdeimlai Iolo a Sion Cent â'r llafurwr. Yng Nghymru Dafydd Llwyd, yr hen bendefigion oedd yr unig bobl o bwys, ac yr oedd casineb rhwng y Cymry a'r Saeson cyn ffyrniced âg y bu erioed.

Gwyddai Dafydd Llwyd yntau am y Llyfr Brud, a thyn dermau a geiriau ei broffwydoliaethau o hono. Sonia am freuddwydion y beirdd am adennill gorsedd Loegr i'r Cymry. Sonia am Alan Fardd a Gwido Hen, a dyfynna Ferddin. Y mae ei ddisgrifiadau o'r rhyfeloedd oedd i ddyfod yn llawn enwau damhegol ar bersonau, llawer o honynt y gellid eu hegluro, ond odid, trwy astudio herodraeth yr oes. Yr oedd i'r Fran ran bwysig yn y daroganau—peth a geir cynt ac wedyn mewn llenyddiaeth a llên gwerin. Cawn gan Ddafydd Llwyd gywydd ar lun ymddiddan â'r Gigfran. Geilw hi yn "abades y gwybodau," a chyfeiria at frain Owain ab Urien. Disgrifia'r Gigfran yr helynt oedd ar ddyfod iddo:—

"Ymhob cornel, gwaith elawr,
Ymhob pant, gwylmapsant mawr;
Ymhob cwm, ymhob camawn,
Ymhob aber, larder lawn;
Yleni, os dilynaf,
Gwledd ymhob gorwedd a gaf!"

Enwir y lleoedd y byddai daro, ac y maent bron i gyd ar lan y môr—dros y môr y disgwylid y gwaredydd. Ymestynna'r cywyddau hyn dros flynyddoedd o'r helynt. Rhan o honi hi oedd llofruddio Syr Gruffudd Fychan yng Nghastell Powys, gan Harri Grai, yn 1477. Bu i hwnnw a'i frawd, Ieuan ap Gruffudd, ran yn nal Arglwydd Cobham, cyn hynny, a chawsant freiniau gan Harri Grai o'r herwydd. Ond erbyn 1477, yr oedd pethau wedi newid. Tybir fod Gruffudd Fychan wedi ymgyfathrachu â'r Iorciaid. Sut bynnag, gwysiwyd ef i Gastell Powys gan Harri Grai. Gwrthododd yntau fyned oni chai ddiogelwch. Gyrrodd Harri Grai ei fodrwy iddo yn secwndid. Aeth yntau yno. Ac yn ddioed, ym muarth y castell, torrwyd ei ben. Nid hawdd gael mewn llenyddiaeth ddim mwy tymhestlog na marwnad Dafydd Llwyd iddo. Dechreua drwy adrodd fel y bu'n chwilio am ei gyfaill:—

"Mi a rodiais ym mrodir
Dy lys, a phob adail îr,
Coed a naint Cydewain oll,
Y Dugoed, a Chefn Digoll,
I'th geisio, iaith ddigasog,
Mal am y Gral, myn y grog!"

Hawdd gweled ei fod yn galaru ar ôl un a garai. O ganol ei ffyrnigrwydd, naid i dynerwch atgof prudd:—

"D'alw ydd wyf, uwch Dol Ddyfi,
Gwrtheb, ymateb â mi;
Dafydd sydd yn dy ofwy,
Deffro, paid â huno'n hwy!
Hun ryhir, hwy na'r eos,
Hun Faelgwn yn nhrŵn y Rhos.
Od wyd,—pam na chyneui dân?—
Yn fyw iach, Ruffudd Fychan?"

Yna, try drachefn yn ffyrnig, wrth gofio'r brad:—

"O'th las, feinwas, heb faneg,
Dialed Duw dy dâl teg;
Ni allai ddyn, â llaw ddig,
Dy ladd, ond diawl o eiddig! . . .
Fy ngharwr, ni'th gynghorais
Ymddiried i seinied Sais!"

Daw'r tynerwch drosto eilwaith, wrth gofio fel y byddai pethau gynt, a geilw ar ei gyfaill yn ôl at eu hen ddifyrrwch:—

"Mae chwech o geirw yn llechu,
Draw mae [?ddeg] yn y Drum Ddu;
Dyred, mae merched a medd
I'th aros, paid â'th orwedd;
Hawdd gennym, hydd eginin,
Hawddfyd gynt, oedd yfed gwin."

Cofia wedyn bod y Saeson wedi torri pen Llywelyn ap Gruffudd ym Muallt, a dechreua eu melltithio âg egni ystormus am hynny, ac am ladd Gruffudd Fychan:—

"Pand oedd frwnt y saffcwndid,
Pan las y pen hwn, o lid,
A dorres iarll dau eiriog,
Harri Grai—caffo hir grog!
Del im' gael, wedi dolur,
Dial am dwyll, dalm, â dur!"

Dyma gerdd oreu Dafydd Llwyd, ac nid yw cywydd Lewis Glyn Cothi ar yr un testun ond diafael yn ei hymyl. Ceir un cywydd arall gan Ddafydd Llwyd lle

cyfyd cyn uched â hyn o ran ei dynerwch, sef, "Cywydd Marwnad Hywel ab Owain o Gyfeiliog." Drwy fawl traddodiadol y beirdd, cyfyd yn raddol i wir farddoniaeth:—

"Maith fu rhyngom gymdeithas,
Mwy na thri chymain' â thras;
Cyd solas, cyd oes helynt,
Cyd ddysgu, cyd gysgu, gynt;
Cyd saethu, deulu dilwfr,
Cyd rodio, cyd nofio'n nwfr;
Cyd eiliaw â'n dwylaw'n dau
Bedw irion yn baderau;
Hen gof am hyn a gyfyd
I'm hiraeth mabolaeth byd!"

Ond y Brud oedd yn mynd a bryd yr hen brydydd. Canodd gywydd "pan glybu ef o Yorc orfod Harri'r chweched." Llawenychai fod Lloegr "yn ddwy ran,," a disgwyliai'r "llew o Frytaen"—Harri Rismwnt—i droi'r rhod. Collwyd Rhys ap Dafydd Llwyd o'r Dref Newydd ar ôl brwydr Banbury, a chân Dafydd Llwyd iddo yntau, gan wrthod credu ei fod wedi ei ladd. Daw castiau'r pleidiau gwleidyddol i'r golwg yn ei gerddi. Cynghora gefnogwyr Harri rhag ymddiried mwy ar wŷr y Gogledd nag ar y Cymry, a phroffwyda'n ddibaid am lwyddiant ei wlad ei hun. Cân i Harri'r Seithfed, gan ei gyfarch fel Cymro, ac erfyn arno gofio ei gyd-wladwyr:—

"A gyrr i ddiawl, garw ddylaith,
Y gwŷr na ŵyr gair o'n iaith!"

Yr oedd ganddo obeithion uchel am ddyfodol y Tuduriaid. Yn y cywydd a elwir yn Gywydd i Harri'r Wythfed, proffwyda y byddai hwnnw yn Ymherawdr, ac anoga ef i fynnu ei ffordd yn amgylchiadau Ewrop:—

"Cyrch frig y tir bendigaid,
Gostwng Dwrci blwng a'i blaid."

Bu fyw i gwyno yn erbyn ysbryd ei oes—bod pobl yn ymwadu â'r hen grefydd a'r hen arferion. Ni fedrai gadw'r Brud allan o'i gywyddau ar faterion ereill. Mewn cywydd serch, dywed na fynnai'r ferch mono, ond y byddai ddigon o ferched i'w cael wedi lladd y dynion yn y rhyfeloedd oedd i ddyfod.

Ceir yn ei waith yntau engrheifftiau o'r gerdd ymryson. Bu dadl rhyngddo â Llywelyn ab y Gutun, a Syr Rhys o Garno, ynghylch clera'r ddau. Y mae cryn ddigrifwch gwledig yn y cywyddau hyn, ac ambell gwpled diarhebol da iawn. Dywed am Lywelyn, wrth ei yrru'n llatai at Werfyl Mechain, y byddai'n llatai ffyddlon oherwydd ei guro ganddo ef gynt:—

"Diwydach, felly dwedynt,
Fydd gwas gwedi'i faeddu gynt;
Y cenau, gyda'r cynydd,
Ei arfer, pan faedder, fydd
Caru y meistr a'i curo,
A'i ddilyn a fyn efô."

Medrai Llywelyn yntau daro'n ôl. Edliwiai fod Dafydd yn hen, ac yntau'n ieuanc:—

"Celffaint o henaint yw hwn,
Gwreiddiog ag îr oeddwn;
A bryno hen, fargen faith,
Obry'n ôl a bryn eilwaith."

Rhydd Dafydd Llwyd ini hefyd ddisgrifiadau o fywyd pendefigaidd ei oes. Disgrifia fawredd a chyfoeth castell Rhaglan, a'r ddadl rhwng ei gorff a'i enaid ef ei hun, y naill am fwynhau bywyd bras Rhaglan, a'r llall yn ofni gorfod

"Penydio fel Gwido gynt
Am anwiredd mewn oerwynt."

Yn ei gywydd i'r Sant, Tydecho o Fowddwy, cawn gerdd ystori, fwy neu lai, wedi ei chymryd o draddodiadau'r saint. Ar ei goreu, y mae barddoniaeth Dafydd Llwyd o radd uchel. Ar ei waethaf, y mae llawer o gymeriad yn ei waith.

## GUTO'R GLYN.

Blodeuai Guto'r Glyn rhwng 1430 a 1460. Ef oedd bardd Dafydd ab Iorwerth, Abad Glyn Egwestl, Glyn y Groes, neu Valle Crucis, Llangollen. Fe allai, felly, mai Glyn y Groes oedd y glyn y cymerth Guto ei enw oddiwrtho. Yno, ac o fynachlog i fynachlog ac o blas i blas trwy Gymru a'r goror, y treuliodd Guto ei oes, yn gyfaill abadau a gwŷr eglwysig, uchelwyr

a'u gwragedd, a beirdd. Gŵr a garai, ac a gâi, fyd da a helaethwych beunydd ydoedd, ac yn hoffach ganddo'r gwin a'r wledd na'r gwaew a'r cledd. Nid oes brawf ei fod yn credu'r llyfrau brud, fel y credai Tudur Penllyn, Dafydd Llwyd ac ereill. Yr oedd ei wleddgarwch, hwyrach, yn fwy na'i wladgarwch. Nid oedd mor dymhestlog o lawer â'i gymheiriaid yn ymdrech y Tuduriaid. Yr oedd abadau ei oes yn wŷr wrth ei fodd, yn amgenach gwŷr, os yr un, na'r hen uchelwyr y mynychai ef eu tai. Yn ei awdl i Ddafydd, Abad Llanegwestl, cawn ddisgrifiad hyawdl o olud a haelioni'r Fynachlog, lle'r oedd pob gwybodau a champau a cherddi, allorau a gweddïau, "y delwau a'r côr, y cerygl a'r llyfrau." Gŵr hael oedd yr Abad, olynwr saint enwog, dadleuwr da, prydydd diwael, ac amaethwr gwych:—

"Dau ryw ytir a dyrr ato,
Draul o fawrial drwy lafurio,
Dodi gweddi a gâr,
Dirio ŷd o'r âr,
Dri heiniar; draw, heno,
Deuddeg cannyn, diwedd cinio,
Dôn at Abad, nid ant heibio;
Deufedd, od yfir,
Dau win a dynnir;
Deunawtir, dôn ato."

Er ei fod yn canmol duwioldeb a dysg yr Abad, y mae mwy o afiaith yng ngherdd Guto wrth sôn am ei haelioni a'i wleddau:—

"Yno, cawn fawrddawn fyrddau, mawr yfed,
Ag amrafael fwydau;
Ym mhlas Egwystl, aml seigiau,
Mae llyn hen i'm llawenhau.
Cawn feddyglyn gwyn, a gwinau fragod,
Cawn freugwrw o'r pibau;
Cawn win, a chnewyllion cnau,
Cawn fil ancwyn afalau."

Ni fynnai Guto fyned i unman arall, ac y mae'n edliw i'r beirdd saled oedd eu byd hwy wrth ei fyd ef yng Nglyn Egwestl. Yn y "Cywydd i ofyn benthyg y Greal, i Drahaearn ab Ieuan Amheurig" (Iolo MSS., t.d. 324), cawn olwg ar gariad yr Abad a Guto at ddysg eu gwlad. Mynnai'r Abad fenthyg y llyfr gan Drahaearn, a dyma fel y gofynnai Guto am dano:—

"Gwybodau argyffrau gwydd,
Gwirio 'dd wyf, a gâr Ddafydd;
Am un llyfr y mae'n llefain,
A gâr mwy nag aur a main;
Achwynfawr am iwch anfon
Y Greal teg i'r wlad hon,
Llyfr y gwaed, llyfrau [? llafur] y gwŷr,
Lle syrthynt yn llys Arthur,
Llyfr am enwog farchogion,
Llyfr teg radd yr holl Fort Gron;
Benthyg hwn, bennaeth y côr,
A gais Dafydd, gost Ifor;
Brenhinllyfr, barwn henllwyd,
Bes câi, byw fyddai heb fwyd!"

Dro arall, cân Guto gywydd i'r Abad i ofyn Bwcled, y gellid ei gael, meddai, mewn rhyw siop yng Ngwrecsam, ac nid oes derfyn ar ei ffansïau am lun y bwcled hwnnw:—

"Cefais arf, cofus hiriell,
Clwyd ddur o fwcled oedd well;
Y mae wybren im' obry,
A gwaith gwe fraith y gof fry;
Olwyn cledd yw, ar lun clo,
Urddas clun yw'r ddescl honno;
Annedd i'm bysedd a'm bawd
Ar gefn dwrn, rhag ofn dyrnawd."

Ond gŵr heddychlon oedd Guto, ac er iddo ddywedyd nad âi byth o Lyn Egwestl, byddai yn mynd, ac yn cael cymaint o ddifyrrwch weithiau fel nad hawdd ganddo ddychwelyd. Canodd gywydd i Sion Mathau, Abad Amwythig, yn adrodd fel yr aeth i edrych am dano, ac y cafodd gymaint o roeso fel na fedrai fynd yn ôl:—

"Un agwedd yw fy neges
A brân Noe, heb ei roi'n nes,
Aeth o'r môr tua thir maith,
A theilwng, ni ddaeth eilwaith! . .
Mae gwin yma i gannwr,
Ni adai'r gwin ado'r gŵr!"

Mor fodlon oedd Guto ar ei fyd yn Amwythig fel y mynasai droi'n ŵr eglwysig ei hun er mwyn aros yno fyth:—

"Gwell gwisgo, na gado'r gŵr,
Gwisg laes, megis eglwyswr. . . .
Mae i mi wyneb padrïarch,
A chorun mwy na charn march;
Ystad a'm gwnai'n brelad bras,
A gwledd dwym, Arglwydd Domas."

Yr Arglwydd Domas ap Rhys oedd y gŵr yr aethai'r bardd ar y neges i'r Amwythig drosto. Ymhlith ei gyfeillion eglwysig ereill yr oedd Syr Bened, person Corwen. Dros hwnnw y bu'n gwerthu'r ŵyn degwm yn Lloegr, fel yr edrydd yr hanes yn y "Cywydd Porthmona," ac yn colli'r ŵyn o un i un yn Warwig, Cwntri, Bidffild a Stafford, a Thudur Penllyn yn ei dwyllo ar fargen wedyn yn Ardudwy, meddai. Yr oedd yr Eglwyswyr Cymreig yr adeg hon yn ddiau yn masnachu yn helaeth mewn gwlân .Canodd Guto hefyd awdl glodforus iawn i Syr Bened, gŵr a'i haelioni, meddai, fel llanw'r môr:—

'Un arfer yw'r amner in'
A dŵr llanw wrth dri llinin—
Treio pan roddo ruddaur,
A llenwi wrth roddi'r aur."

Cyfaill arall iddo oedd Meredydd ab Ifan ab Owain, curad Cydewain, amaethwr mawr, a brudiwr, y mae'n debyg, canys dywed Guto am dano, mewn cywydd i ofyn ebol ganddo dros Reinallt ab Ifan Fychan, ei fod yn—

"Darllain yng Nghydewain dir
Llyfr brud, llafurio brodir;
Rhyfedd, o chait d'arfeddyd,
Fod cwys o Bowys heb ŷd."

Bu ymryson rhwng Guto âg Eglwyswr o Iâl, a elwid Syr Rhys o Drewen. Canodd hwnnw dduchan iddo, am nad aethai i Iâl y Nadolig yn ôl ei addewid, a chafodd hwyl fawr wrth ddisgrifio'r ffâr wael y tybiai fod Guto'n byw arni, gogyfer â'i ymborth ef. Edliwia i Guto faint ei wanc am fwyd:—

"Ni phara bara'n y bwth
Oni rwymir hen remwth!"

Yn ei ateb, dengys Guto watwareg finiog. Galwodd Syr Rhys ato unwaith, meddai, am ei fod yn glaf, ac anfad iawn yr ymddug Syr Rhys yn ei dŷ:—

"Ac oni chai gaws [?gwin] a chig,
A chwrw, nid oedd iach orig;
'A fynno nef i'w enaid,'
Meddai Syr Rhys, 'meddwi sy raid!'
Pan frwysgodd, galwodd am gawg,
Ban feddwodd, bu anfoddiawg,
Y bara gwyn breua a gâi,
Rhag ei feddwed, rhŷg fyddai;
Medd oediog, yma'dd ydoedd,
Meddai Syr Rhys, maidd sur oedd;
Er brwysgo ar y bir ysgafn,
Och iddo ef, o chae ddafn!"

Dyma drem ar un o'r hen eglwyswyr gwaethaf gynt, y mae'n debyg. Ond nid rhai felly oedd holl gyfeillion Guto. Canodd i Risiart Cyffin, Deon Bangor, y gŵr hael a roddes baderau iddo, a chywydd arall dros yr un gŵr i ofyn gwalch gan Huw Bwlclai, Biwmaris, "Cwnstabl Caer Gonwy." Bu hefyd yn aros yn Ystrad Fflur, a chanodd farwnad hyawdl i Rys, yr Abad yno. Y mae ganddo lawer gair clod rhyfeddol i Rys, megis "Dewi'r abadau," "cywaeth dynion Caeaw," "hebog Duw'n Neheubarth," "Dewi'r glod," a "Morda'r glêr." Achwyna ar Dduw am golli'r Abad:—

"Myn yr haul! pe mor greulawn
Dug in' Iorc, digio a wnawn!
Di swydd wyf pan dreiglwyf draw,
A Duw sydd i'm diswyddaw;
Dyrnod a roddes Iesu
A gordd fawr ar y gerdd fu!
Hudol fu Dduw'n Neheudir,
Hudoliaeth a wnaeth yn wir;
Duodd amgylch y Deau
Diwedd oedd o'r mawredd mau;
Beth a wna'r ddaear yn ddu
Ond dillad i'n tywyllu!"

Holl ddaear y De yn ddu gan wisgoedd galar y bobl! Canodd Guto lawer i'r uchelwyr, ac yn ei gywyddau iddynt hwy y cawn rai o'i bethau goreu—ei ddisgrifiadau o anifeiliaid ac arfau. Canai i deuluoedd Cors y Gedol, Nannau, Rhaglan, Llwydiarth, Llechwedd Ystrad, Cryniarth, a'r Llannerch. Camp ar Ddafydd ap Meurig Fychan o Nannau oedd y gwyddai dair iaith. Nid oedd fedr nad oedd eiddo Gruffudd Fychan o Wyddelwern:—

"Oes gwybod moes cae bedw Mai?
Oes ymadrodd nas medrai?"

Rhydd ddisgrifiad gwych o olud Rhaglan, lle'r oedd "mwynwyr o wlad Sermania" yn gweithio; ac erfyn ar yr Arglwydd Herbert roddi blaenoriaeth i'r Cymry ar y Saeson yn eu gwlad eu hun-

ain. Disgrifia frwydr Banbury, ac mewn cywydd arall, melltithia wŷr Gwent am fradychu'r Cymry yno. Y mae'r cywyddau hyn yn llawn cyfeiriadau hanesyddol. Yr enwocaf o'r rhyfelwyr y sônia Guto am danynt oedd Mathew Goch, mab Owen Goch, beili maenor Hanmer, a Hawys, ferch Dafydd Hanmer. Bu Mathew Goch ar y blaen ac yn gwneuthur gorchestion lawer yn y rhyfeloedd yn Ffrainc am flynyddoedd, a dihangodd yn fyw oddi yno. Daeth i Lundain, ac yr oedd yno yn y Twr pan aeth Jack Cade a'i fyddin i'r dref yn 1450. Dychrynodd pobl Lundain, a gyrasant am Fathew Goch i wynebu Cade. Dug yntau ac Arglwydd Scales fyddin o'r Twr, nos Sul, Gorffennaf 5, 1450, a bu brwydr daer am bont Lundain, yn y tywyllwch. Yn y frwydr honno, lladdwyd Mathew Goch. Gallai Guto yn hawdd fod yn adnabod y milwr dewr hwnnw. Crybwylla ei orchestion yma ac acw yn Ffrainc, yn Rôn, Ainsio, a Maen, ac am dano yn ymladd a "La Her." Dyma gymeriad Mathew Goch, yn ôl Guto:—

"Nid aur bath a gâr Mathau,
Nid da'r byd, nid tir, heb au;
Mwy câr brynu carcharawr,
A gwŷr a meirch, nag aur mawr;
Ni chais ef chwenychu swydd,
Chwaith egr, na chywoethogrwydd;
Ni werthai ef o'i ortho
Ei glod ef er golud fo;
Cymro da ei Gymräeg,
Cymered air Cymru deg,
A gair Ffrainc, lle gorffai'r och,
A gair Lloegr, y gŵr lliwgoch."

Yn ôl pob tebyg, yr oedd Guto'n dywedyd y gwir am dano. Soniwyd eisoes am ymryson Guto a Thudur Penllyn. Bu ymryson arall rhyngddo a Dafydd ab Edmwnd, yn ôl rhai ysgrifau, a rhyw ymryson digrif hefyd rhwng Llywelyn ab y Gutun âg yntau. Clywodd Llywelyn, neu gymerth arno glywed, bod Guto wedi boddi ym Malltraeth, Môn, a chanodd farwnad iddo. Ynddi hi y mae'r llinell anfarwol honno—

"Mae'n y nef—am na nofiai!"

Disgrifia hynt corff Guto druan yn y dwfr gydag afiaith ryfeddol:—

"Awenyddiaeth y draethell,
O foddi'i gorff, a fydd gwell!
Och finnau, uwch yw f'anap
Am simwr y gŵr, a'i gap,
A'i weled yn troi'n olwyn
Ar Fall Draeth, a'r fwyall drwyn! . .
Mae'n i gawell facrelliaid,
Mwy na llwyth, ym min y llaid. .
Llyma gael, nid llai, mi a'i gwn,
Llun pencerdd yn llawn pencwn;
Gan ddŵr yr ae'r milwr mau,
Gan wynt aeth ei gân yntau! . . .
Mae hergod o bysgodyn
Moelrhon yn nwyfron fy nyn;
E fynn y gwyr o Fôn gau
Ysgadan yn'i 'sgidiau;
Cryf ydoedd, ceir i fudaw,
Cregyn a lŷn yn'i law!
Y cawell lle bu'r cywydd,
Ceudod llysywod y sydd!"

Atebodd Guto, lawn cyn ddigrifed âg yntau, ac yn ei ateb y ceir y ddeufraich hynny—gyda'r perffeithiaf eu ffurf a'u rhediad yn yr iaith:—

"Llu a dwng, lle dihangwyf,
Mai lledrith ym Malldraeth wyf!"

Disgrifia Lywelyn yn dychmygu'r ystori yn ei ddiod ac yn gweled y llanw yn dyfod trwy'r simnai ato:—

'Och im', ond doeth a chymen,
Oni bae win yn'i ben;
Diod a wna i'r tafod doeth
Droi'i ben ar y dwr beunoeth;
Ef a welai fy eulun
Mewn dŵr hallt ym Môn, drwy'i hun;
Yn Llwydiarth, y naill ydoedd
Ai 'moddi i, ai meddw oedd;
O lys Huw Lewys i lawr,
Y doe lanw i delyniawr
A thybio, er clwyfo clêr,
Y doe lif hyd y lwfer!"

O'r marwnadau a ganodd Guto, yr oreu, heb eithro marwnad Abad Ystrad Fflur, yw marwnad Llywelyn ap y Moel. Y mae ynddi deimlad syml, dwys, a chynhildeb y teimlad hwnnw:—

"Mae arch yn Ystrad Marchell,
Ym mynwent cwfent a'u cell,
Ag yn honno gân annerch,
A saith gelfyddyd y serch,
A chledd dewredd dihareb,
A cherdd, yn wir, ni chwardd neb,
Lle rhoed, o waith llawer rhaw,
Llywelyn—lle i wylaw."

Disgrifiai wrthrychau naturiol gyda ffansi doreithiog a meistrolaeth berffaith ar eiriau. Meddai, wrth ofyn dau filgi:—

" Gnodach nad milgwn ydynt,
Ond gweilch, neu genhadau gwynt!"

Gellid dyfynnu ugeiniau o linellau fel hyn o'i waith. Hen brydydd heddychol a bodlon ydoedd, yn hoff o bethau da a phethau tlws, yn ysgolhaig yn ei ddydd, yn garwr llyfrau a dysg, ac yn falch o bob camp ar wŷr ei wlad ei hun.

## LEWIS GLYN COTHI.

Bu Lewis Glyn Cothi fyw drwy flynyddoedd mwyaf terfysglyd Rhyfel y Rhosynnau, canys canodd farwnad Syr Gruffudd Fychan yn 1447, a gwelodd goroni Harri'r Seithfed, yn 1485. Cyhoeddwyd casgliad o'i weithiau gan y Cymmrodorion, yn 1837—39, dan olygiad Tegid a Gwallter Mechain, ond ni chynnwys y casgliad hwnnw ond ei gerddi gwleidyddol, a'r rhai hynny wedi eu golygu yn ddigon mympwyol, fel na ellir dibynnu arnynt bob amser. Priodolir iddo mewn llaw-ysgrifau bethau ereill, ac o leiaf rai o honynt yn amgenach barddoniaeth na dim a geir yng nghasgliad y Cymmrodorion. Ond er lluosoced ei ganiadau, y mae hanes digwyddiadau ei fywyd ef ei hun yn brin ynddynt, ac ni thybiodd golygwyr ei " Waith " eu bod yn werth eu casglu at ei gilydd. Barnent fod achau a hanes y bobl y soniai am danynt yn bwysicach. Yn wir, nid gwasanaethu llenyddiaeth Gymraeg oedd eu hamcan, yn ôl eu haddefiad eu hunain, eithr yn hytrach daflu goleuni ar hanes y gwŷr mawr oedd yn torri eu gyddfau ei gilydd adeg Rhyfel y Rhosynnau. Yr unig beth a ddywedasant am Lewis ei hun ydoedd ei fod yn canu i deulu Lancaster a theulu York fel ei gilydd, nad oedd waeth ganddo pwy a drechai: a bod ei gas at y Saeson cymaint fel nad oedd fymryn o wahaniaeth ganddo pa fodd y llywodraethid y deyrnas, cyd âg y byddai'r penadur yn Sais. Y mae hyn yn eithaf gwir. Cyn wired â hynny hefyd yw nad oedd fymryn o wahaniaeth gan y gwŷr mawr ymladdgar pa fodd y llywodraethid y deyrnas. Eto, ni allai hanes y bardd oedd yn bwysig am ei fod yn enwi'r gwŷr mawr lai na bod yn ddyddorol i fyfyrwyr llenyddiaeth Gymraeg, ar wahan i awch yr hen bendefigion am eu ffordd eu hunain.

Pa beth bynnag oedd amgylchiadau teulu Lewis, a hanes ei ieuenctid yntau, etifeddodd yr hen ddiwylliant Cymreig. Yr oedd yn feistr ar y gynghanedd a'r mesurau, yn gyfarwydd â'r Mabinogion a Brut Sieffre, y rhamantau Arthuraidd a Bucheddau'r Saint; ac yn gwybod achau'r hen deuluoedd y canai iddynt i gyd. Adwaenai Gymru a'r goror o'r naill ben i'r llall. Yr oedd hanes Lloegr yn hysbys iddo. Nid oedd anwybodus am syniadau ei gyfnod ynghylch dyn a natur. Cai groeso yn nhai'r uchelwyr i gyd, nid fel clerwr cyffredin ychwaith. Canmolai eu tras uchel, eu haelioni, eu dysg, a'u gwrhydri; cyffröai eu dialedd, taniai eu gwladgarwch a'u balchter; canai farwnad pa bryd bynnag y lleddid un o honynt, neu pan drengai arall o farwolaeth naturiol. Ni wyddis ymha nifer o'r brwydrau y bu ei hun. Canodd amryw gywyddau i ofyn am farch, cyfrwy, cleddyf, neu fwa, ond yr oedd peth felly yn arfer, ac ni ddywed Lewis ychwaith mai yn y frwydr y collodd yr hen rai. Un darn o'i hanes ei hun mewn helynt a edrydd i ni. Aeth i Gaerlleon i fyw, a phriododd wraig weddw yno heb gennad yr ustusiaid. Am hynny, dygwyd ei eiddo oddi arno. Canodd yntau awdl dduchan i Gaer, ac aeth â hi i Reinallt ap Gruffudd o'r Twr, gerllaw'r Wyddgrug, gan ddeisyf arno ddial ei gam. Nid oedd raid iddo ofyn ddwywaith i Reinallt wneuthur peth mor ddigrif ganddo. Dialwyd ar wŷr Caer. Mewn rhai ysgrifau, fel y dywedwyd eisoes, priodolir i Lewis yr awdl a dadogir mewn ereill ar Dudur Penllyn, yn diolch i Reinallt am ei wasanaeth. Pa un bynnag o'r ddau a'i canodd, nid oedd dial Rheinallt yn llawn digon gan Lewis, canys canodd " Gywydd i ofyn cleddyf gan Ddafydd ap Gutun o Groesoswallt, i ladd gwŷr Caerlleon Gawr." Yr oedd ei ddigofaint yn llosgi ynddo pan ganodd y cywydd hwnnw:—

" Eilliaw a wnaf, myn llaw Non,
Ei holl ieuainc, Gaerlleon;

Ar bob taeog yr hogaf
Asen ddur, os yno 'dd af;
Ni ddaw un, hyd ŵyl Ddwynwen,
O Dre Boeth heb dorri ei ben;
Anafaf, od af lle dôn,
Ugain mil o gwn moelion;
Bid arnaf, od af i'r dydd,
Ladd dwyfil â chledd Dafydd!"

Dair wythnos wedi'r helynt yng Nghaer, yr oedd yn dywedyd ei gŵyn wrth "Annes erch Sion, o Gaerllion ar Wysg," ac yn gofyn am len gwely yn rhodd ganddi. Tebyg mai tua'r un adeg y canodd gywydd i ofyn dillad gwely gan bedair o wragedd ereill. I'r un cyfnod hefyd, ond odid, y perthyn "Cywydd Saeson y Fflint." Dyma'r digrifaf o gywyddau Lewis. Edrydd ei hanes yn myned i neithior ar y Sul, ar fwriad canu awdl a chael tâl. Ni wrandewid arno, ond chwerthin am ei ben, a galw rhyw bibydd ymlaen i ganu:—

"Galw i'r fainc, gwaelwr a fydd,
O bawb am Wiliam Bibydd;
Dyfod o hwn, defod hawl,
Ger bron, nid fal gwr breiniawl,
A chôd leddf, fal perfeddfaich,
Wrth ffon rhwng ei fron a'i fraich!"

Gorfod i Lewis fyned ymaith, "o'r goegwledd yn ŵr gwaglaw," a gadawodd ei felldith ar y Fflint:—

"O ddifrif, rhof ddiofryd
I Fflint gaeth a'i phlant i gyd,
Ei ffwrn faith fal uffern fydd,
A'i phobl Seisnig a'i phibydd;
Fy holl weddi fo'u lladdiant,
Fy melltith i'w plith, a'u plant!"

Cawn gywydd arall yn "gofyn huling gwely gan Elen ferch Llywelyn o Lwydiarth, ym Môn," lle y mae'r bardd eto yn melltithio gwŷr Caer am ei ysbeilio. Meddai:—

"Ac yn noethach y'm gwnaethant
Na'r gleisiad yn nofiad nant."

Gellir casglu oddiwrth y pethau hyn, a chywyddau ereill i bendefigion y Gogledd, ei fod wedi byw am ysbaid yn rhywle yn y rhan honno o Gymru. Mewn cywydd a ganodd i Faredydd Amharedydd, o Dref Eglwys, "pan oedd y bardd ar herw o achos Siaspar Iarll Penfro," edrydd fel y bu ar ffo o le i le, ar ôl brwydr Mortimer's Cross, yn 1461, y mae'n debyg:—

"Mi'n ddidechwr celliau
A drig a'i wâl mewn dâr gau;
Yng nghoedwig brig Allt y Brain,
A'i bro, y bu ŵyr Owain;
Minnau yn y man yno
Drwy fedw yr allt a rof dro;
Llechu yng ngrug Cwm Buga,
Llwydwydd im' yr allt oedd dda;
Rhodio bron Bumlumon las,
Rhifo gwawn rhof â Gwanas;
Gwylio o hyn hyd Galan
Ar y naw môr o'r un man."

Dyna gymaint âg a gawn o ddim tebyg i ffeithiau ei hanes, ac eto rhydd darllen ei waith ini syniad llawer llawnach am ei bleser a'i boen, ei beryglon a'i helbulon.

Gellid ei alw yn fardd y gwin a'r achau, cyfeillgarwch a hoffter at blant. Nid yw ei gywydd marwnad am ei fab bach, "Sion y Glyn," i'w gael yn ei waith argraffedig, er y dengys nodyn ar waelod dalen y gwyddai'r golygwyr am dano. Nid oedd Sion fach y Glyn yn taflu unrhyw oleuni ar hanes y gŵr mawr! Eto, ni chanodd Lewis, nag un bardd arall, o ran hynny, ddim gwell o'i fath na'r cywydd bychan hwnnw:—

"Fy nwy ais, farw fy nisyn,
Y sy'n glaf am Sion y Glyn;
Udo fyth yr ydwyf fi
Am benaig Mabinogi;
Afal pêr ac aderyn
A garai'r gwas, a gro gwyn;
Bwa o flaen y ddraenen,
Cleddau digon brau o bren;
Ofni'r bib, ofni'r bwbach,
Ymbil â'i fam am bêl fach;
Canu i bawb acen o'i ben,
Canu io-io er cneuen;
Gwneuthur moethau gwenhieithio,
Sorri wrthyf fi wnai fo,
A chymod er ysglodyn
Ag er dis a garai'r dyn."

Ceir cyfeiriad at Sion y Glyn mewn un cywydd arall, y "Cywydd i ofyn dillad gwely gan bedair o wragedd:"—

"Y nos y câr fy nisyn
Fwrw ei led ar gylched gwyn;
Cysgu awr, o cwsg erof,
Estynnu uwch sidan of."

Hyd y gwn i, dyma un o'r engrheifftiau cynaraf mewn llenyddiaeth Gymraeg o ddyddordeb yn arferion plant. Rhydd un beirniad Seisnig, yn y "Cambridge History," cyf .IV., t.d. 771, y glod i Henry Vaughan am ei ddyddordeb ym meddyliau plentyndod yn un o'r rhai cynaraf yn Lloegr. Yr oedd Lewis Glyn Cothi ar y blaen iddo yn hynny o beth, fel yr oedd Llywelyn ab y Gutun, a beirdd Cymreig ereill. Y mae'n ddyddorol cofio hefyd mai Cymro oedd Vaughan ei hun.

Nid yn unig yn ei gyfeiriadau at ei fab bach y cawn dynerwch teimlad Lewis Glyn Cothi. Gwir mai traddodiadol yw llawer o'r mawl a gân i'r uchelwyr a glodforai, ond cawn weithiau ganddo beth amgenach hefyd, a nôd gwir gyfeillgarwch arno. Tristâi feddwl bod gŵr hardd yn ei fedd:—

"Mae llen gêl ar wallt melyn,<br>Mae ar y gwallt farmor gwyn."

Disgrifia Fryn Hafod, cartref un o'i gyfeillion, gyda hwyl:—

"Caraf Fryn Hafod fal priodas,<br>A'i llaw, a'i harddwrn oll, a'i hurddas,<br>Cariad Eliwlad, pan las, ar ei wlad,<br>Cariad y gleisiad ar y môr glas.<br>Efô a'm galwai i'n Elïas,<br>A mi a'i galwai fo'n Fathïas;<br>Ef fry a'm galwai'n Adda Fras hynaf,<br>Efô a alwaf finnau'n Felwas."

Mawr y carai Gynwyl Gaio, a'i harglwydd, Dafydd ap Tomas Fychan, a rhydd ini ddisgrifiad tlws o'r ddau:—

"Camwedd a gwagedd a gau,<br>Cymwd Caio, ei amau!<br>A'r un Duw ar rwn o dir<br>A wnaeth Gaio'n waith gywir.<br>Awn i Gynwyl wen, ganwaith,<br>Ag yno aed a gân iaith;<br>Ni ddeuai hwn ei ddau hyd<br>O Gynwyl Gaio, ennyd.<br>A gair mwyn a geir am wŷs,<br>Tomas fal tîm sy felys,<br>Gwna, ei hun, gan eu hannerch,<br>Gan mil o ganuau merch,<br>A phob pennill Ebrillaidd<br>I fedw, grym hefyd a'i gwraidd."

Dyma eto atgof am ei gyfeillach â Dafydd ap Rhys ap Meurig, o Ben Craig a Thre'r Delyn:—

"Darllen ein dau'r llyfrau'n llwyr,<br>Dileu sôn, dadleu synnwyr;<br>O bai ddwywers heb ddyall,<br>A'r naill wers ar ran y llall,<br>Dafydd wrth gywydd Gwiawn<br>A'i deall im' mewn dull iawn."

Am y gwin a'r achau, cawn ganddo yr un mawl bron i bob un o'i gyfeillion. Cân ei awdlau yn gyffredin ar yr un cynllun, gan arfer yr un mesurau yn fynych. Cyffelyba'r hen deuluoedd i goed, a'u disgynyddion i ganghennau a brigau ffrwythlon. Rhydd lawer o oleuni ar eu bywyd a'u harferion. Disgrifia dwrnament mawr a wnaeth Tomas ap Gruffudd ap Niclas yn Aber Marlais, ac enwa gampau'r hen uchelwyr—saethu, neidio, nofio, rhedeg, "bwrw llawfaen a bar llifaid," marchogaeth, ymafael cwymp a hela. Gellid tynnu llun manwl o'u bywyd trwy gasglu holl ddisgrifiadau'r bardd at ei gilydd.

Yn ei ddisgrifiadau o ryfel, ceir llawer o egni a rhuthr yr ymladd. Y mae carlam y meirch yn ei linellau—ni fedrodd neb o'r beirdd Cymreig ei guro am hynny. Dywed am Rys ap Dafydd Llwyd:—

"Saethau o'i dyrau sydd yn dirwyn,<br>Cylch ei dref, mor gref a thref y Grwyn;<br>Gynnau a glywir, haf a gwanwyn,<br>Ym mrig ei gaeroedd, fal môr gerwyn.<br>Mae'n dofi gwylliaid, llonaid pob llwyn,<br>Mae'n difa lladron, mewn dwy afwyn;<br>Mae'n rhwymo'r ddwywlad mewn un gadwyn,<br>Ym mhennau rhai ffrom y mae'n rhoi ffrwyn."

Ond wrth annog ei gydwladwyr yn erbyn Lloegr y mae fwyaf wrth ei fodd. Canai i deuluoedd York a Lancaster fel ei gilydd, eithr pan welodd y rhod yn troi o blaid y Lancastriaid, ymunodd â hwy. Dengys awdl a ganodd i Siencyn Winstwn o Langaron, Sais o enedigaeth, ond wedi dysgu Cymraeg, fod Lewis yn ystyried mai iaith oedd enaid cenedl, a bod pawb a garai'r Gymraeg—ac a brofodd hynny drwy ei dysgu—yn deilwng Gymro. Nid ymlynwr wrth y pleidiau

Seisnig ydoedd. Nid am drechu plaid York yn Banbury y cwynai, ond am ladd ei gydwladwyr yno. Nid am fuddugoliaeth y Lancastriaid y llawenhai ar goroniad Harri VII., ond am fod Harri yn Gymro. Dywed mewn un cywydd:—

" Y dydd ddoe, rhoed ffonnod dda,
Sax hen ar wŷr Saxonia;
Ac ar y cŵn, a'r gwŷr caith,
Ddialedd heddyw eilwaith;
Sidan a wisgasan, gynt,
Heb sidan beisiau ydynt;
Maen' hwy weithian mewn noethi,
Heddyw, mewn aur ydd ym ni!"

Anaml y ceir ganddo ddisgrifiad o olygfa naturiol, ond dyry lun effeithiol o afon Dywi ar lifeiriant:—

" Ei llif a ddwg, ar ei lled,
Yd a gwair hyd y gored;
Oddiyno mudo i'r môr
Y derw, rhwng ei dau oror;
Diwreiddio, cwympo y coed,
A goresgyn y gwrysgoed;
Is y tai, dengys Tywi
Maint yw lled ei mantell hi;
Mam llifeiriaint berwnaint bas,
Morgymlawdd amrygamlas."

Y mae'n hyawdl hefyd wrth ddisgrifio Llwyn Tren, plas Rhys ap Dafydd, a'i goed a'i fywyd gwyllt:—

" Llyma y coed lle mâg gweilch,
Lle mae celliau mwyeilch,
Lle nythod cryhyrod haf,
Lle i wiweir drwy'r holl aeaf."

Ychydig linellau diarhebol a geir ganddo, ond y mae'r rheiny yn rhai da pan gaffer, fel y dengys yr engrheifftiau hyn:—

" A dawo a wrandewir,
O dewi gwers y daw gwir."

" Gwell fydd hen dderwen yn ddâr
No dwy ieuainc mewn daear."

" Breuach na bar o ewyn
Yn ei stad yw einioes dyn."

" A bryno tir a braint da,
Yn ei ardal â'n wrda."

" Nid marw y tad fo dradoeth
Dra fo byw dewr ei fab doeth."

" Ef â afon yn fwy-fwy
Hyd y môr, ac nid â mwy."

" A fo gwan genfigennwr,
Hir yn was, a hwyr yn ŵr."

Y mae gwaith o hanner cant i drigain o leiaf o feirdd ereill a flodeuodd yn y cyfnod hwn, dyweder rhwng 1420 a 1480, i'w gael mewn llawysgrifau, llawer o hono âg arno gymaint o gamp âg y sydd ar ddim a gyhoeddwyd. Ymhlith y rhai a ganodd Gywyddau Brud ymhlaid y Tuduriaid, gellid enwi Robin Ddu Ddewin, Gruffudd ap Dafydd Fychan, Dafydd Gorllech, Edward ap Rhys, Llywelyn ap Meredydd ab Ednyfed, Ieuan Brydydd Hir, Rhys Llwyd ab Einion Fychan, Syr Dafydd Offeiriad, Gwilym ap Sefnyn, Ieuan Leiaf, a llawer ereill na ellir bod mor sicr yn eu cylch.

Canodd Robin Ddu " Gywydd Marwnad Owain Tudur," yn proffwydo y deuai ddial am hynny cyn bo hir:—

" Owain a las, annwyl Iôn,
Yn wrol ag yn wirion;
Er torri pen y wennol,
Mae'r eryr a'i wŷr ar ôl. . . .
Yr edn a ddaw a'r adar,
O bell i ddial y bâr"

Nid yn unig cawn hanes ymdrech y Tuduriaid, o'r ochr Gymreig, yn y cywyddau Brud, ond cawn hefyd siomedigaeth y Cymry yn wyneb y cwrs a gymerth y teulu. Testun un cywydd gan Lywelyn ap Hywel yw " Cwynfan y Prydydd fychaned y gwnai Harri Seithfed o'r Cymry." Dyma ran o'i gŵyn:—

' Gwleddach ymhlith arglwyddi,
Gweision gan wŷr Môn ym ni;
Er bod yn dyfod bob dyn
O'r ddau fab a'r ddau febyn,
Mwy gan Siaspar a Harri
Yw gwŷr y Nordd na'n gwyr ni."

Yr oedd y Cywydd Gofyn hefyd yn gymeradwy iawn yn ystod y cyfnod hwn, a cheir gan y beirdd ddisgrifiadau medrus anghyffredin o'r anifeiliaid a'r adar, yr arfau a'r gwrthrychau ereill y byddent yn eu gofyn.

## CYWYDDAU SERCH A MARWNADAU.

Eto, hwyrach mai yn eu cywyddau serch a'u marwnadau y ceir eu gwaith goreu. Ysgrifennwyd yn ystod y cyfnod

yn ddiameu gannoedd o "Gywyddau Merch." Yr oedd y peth yn ddefod neu arfer, ac o'r herwydd, nid bob amser y mae'r beirdd yn gallu ein hargyhoeddi eu bod o ddifrif. Y mae'r merched, bob cynnyg, yn dlysion y tu hwnt i freuddwyd bardd. Y maent hefyd heb odid eithrad yn galon galed iawn, a'r beirdd yn dihoeni ac yn torri eu calonnau o blegid eu creulondeb. Eto, mynegir y pethau traddodiadol hyn mewn iaith a chelfyddyd berffaith, fel y canai Bedo Brwynllys i ryw ferch benfelen:—

"Y fun dawel, fain dyfiad,
A droes yr aur dros yr iâd,
Aur yn llen ar unbennes,
Llywethau fel tidau tes;
Hug euraid am gannaid gwyn,
Aerwy mal yr aur melyn;
Mwg aur sydd am a gerais,
A droes, o'i phen dros ei phais. . . .
Lloer y dydd, unlliw a'r don,
Dâl fanod, dwyael feinion;
Ei lliw sy felly, ysywaeth,
Meinwen gu, a minnau'n gaeth."

Byddai yn anodd curo'u disgrifiadau o dlysineb merched, er nad oes lawer o angerdd yn eu cariad. Y maent fel paentwyr yn chware âg afradlon gyfoeth eu lliwiau, gan ddotio at brydferthwch y llun; neu fel cerddorion yn frwysg ar gywrain fedr eu celfyddyd eu hunain. Bwriant bennill at bennill, pob un yn berffaith ynddo'i hun, fel na wyddoch ai golud ei liw ai ei lafar felyster sydd bennaf. Tuedd hyn oedd cynhyrchu rhes o luniau mân cyfliw, yn hytrach nag un llun mawr, cyflawn. Eto, y mae celfyddyd berffatih yn y llun bach y medrai digonedd o honynt ei dynnu. Cymerer Dafydd ab Edmwnd yn engrhaifft:—

"Dy laeswallt fal dy lusael,
Dy drem fal dued yr ael;
Dy wyneb fal ôd unnos,
Dy rudd fel cawod o ros."

Weithiau, cawn gan Ddafydd hefyd lun llawnach, a'r amgylchoedd wedi eu lliwio o'i gwmpas â'r un medr perffaith. Wele ddisgrifio merch yn cribo'i gwallt:—

"Mae dyn a wisg am dani
Mewn haul, teg a mwyn yw hi,
Pais luniaidd, pwy sy lanach?
Mewn gwregys llai na bys bach;
Ei stwmest a'i chrys damasg,
A gwe o aur am ei gwasg.
Gwae finnau, gan gof anwych,
Na bawn siambrlen i Wen wych,
Yr awr, ar frig yr orallt,
Y bo Gwen yn cribo'i gwallt!"

Allan o ddegau o luniau tebyg, cymerer un arall gan Ieuan Deulwyn, lle'n boddir gan donnau'r gwallt aur eto:—

"Llawen wyf fod y llwyn îr,
Aur fanadl, ar y feinir;
Coron o bali caerog,
Cywir grefft, fal cwyr y grog;
Ag un lliw, gannwyll awyr,
Y barnwn haul, brynhawn hwyr!
Golud mawr yw gweled modd
Y goreuben a gribodd;
Gweddaidd yw'r tasel melyn,
Gwyddfid aur uwch gwddf y dyn;
Pebyll Melwas o draserch,
Paun i Fair yw pen y ferch;
Oni bai fod ysnoden
Ymhlith gwallt ymhlethau Gwen,
O'r iâd, tremyn aur tramawr,
Y doe y llwyn hyd y llawr."

Gallai Ieuan hefyd ddwyn swyn atgof i'w gerdd, gan ryw hanner chware âg ef rhwng trist a pheidio. Dyma fel yr edrydd hanes yr oed yn y coed, a'i atgof yntau am dani:—

"Lluniasom mewn llwyn isel,
Llwyn o goed a fai'n llen gêl;
O hunais rhag fy henu,
Hun eos ar fernos fu;
Bum is y berth bumoes byd,
A rhif o oriau hefyd;
Gwylio'r llwybr is yr wybren,
A golwg iach, a galw Gwen.
Sefyll dan fentyll a fu,
A son, ag ymgusanu;
Canu'n iach, bocsach i'r byd,
Ganwaith, a thrigo ennyd;
Ymado heno â hon,
Ymannerch â'r drem union;
I'r coed lle bu'r oed yr af,
Am ei ddail y meddyliaf;
Meinir, da fu am unoed,
Marwol wyf am yr ail oed!
Ni ŵyr neb cydundeb cain
Ein hanes eithr ein hunain;
Am ein bod heb bechodau,
Awn, fun deg, i nef ein dau!"

Yng ngherddi serch Robin Ddu, daw ychydig mwy o gymeriad y bardd i'r golwg. Brudiwr ydoedd, yn anad dim, a thyfodd traddodiadau o gwmpas ei enw fel dewin a fedrai wneud pethau rhyfedd. Disgrifiai yntau dlysineb merch gyda medr arbennig:—

" Ond rhyfedd, yn y trefi,
Na welid un o'th liw di?
Dy dâl fel blodau dolydd,
Dy frig fel yr ewig rydd;
Duw a roddes it ruddwallt
Yn farrug aur dan frig allt."

Ond ceir ias o dymer y dewin yn ei gynghorion i un ferch y canodd iddi:—

" Rhoed iti, lliw rhadau llon,
O degwch, fwy na digon;
Gras mawr, cynnal gwrs morwyn,
Oedd dda, o medrid ei ddwyn;
Mawrddig, heb ddim o urddas,
A wnai bryd, oni bae ras;
Mogel fod, fy Ngwyndodes,
Dy liw yn erbyn dy les!
Saer dy fawl, sorred fyfi,
Amserol oedd im' sorri;
O daliaf ledwg dulas,
Fy ngherdd a ddial fy nghas!
Cariad y modd cywiraf,
Iti y rhof deutu'r haf;
Dwy fil a glyw dy foliant,
Gan bibau teg, gan bob tant;
Nid oedd ymddiddan deuddyn
Ond dy glod yn neutu glyn;
Gweniaith, liw ewyn gwaneg,
Im' yw'r tâl am eiriau teg. . . .
Myn y rhin! nid doethineb
Iti, er nwy, watwar neb;
Dyfod, cyd bych diofal,
A wna dy dwyll yn dy dâl!"

Llawer mwy cyffredin na'r dôn fygythiol hon yw'r cwynfan a geir yng nghywyddau Bedo Brwynllys ac Ieuan Deulwyn. Dyma ddarn nodweddiadol o brofiad Bedo:—

" Aros diben am deni
Yn araf iawn yr wyf fi;
Ganwaith, wen, y gwnaeth aniawn,
A gweniaith im' y gwnaeth iawn;
Gleisiad wyf, glas, hyd afon,
A'r dryfer fr drwy'i oer fron;
Eidion wyf fyth dan fy iau,
Oen heb ladd ymlaen bleiddiau!"

Fel hyn y chwareuent a'u teimladau. Dyfais fawr ganddynt oedd ddanfon llateion at eu cariadau—y ddyfais a wnaeth Dafydd ap Gwilym mor gymeradwy. Weithiau, aderyn neu anifail fyddai'r llatai. Helaethodd Llowdden ar y ddyfais hon. Danfonodd Ieuan ap Hywel Swrdwal yn gennad trosto, a syrthiodd yntau ym mhrofedigaeth y llatai—carodd y ferch ei hun. Y mae tipyn o'r ansawdd ddramatig yn y cywydd a ganodd i ddywedyd yr hanes, ar ffurf ymddiddan rhwng y ferch âg yntau:—

" Beth fal hyn a fynn efô,
Llowdden? Mae arall iddo;
Dywaid, ni wnaf orafun,
Drwsa teg, drosot dy hun!"
" F'annwyl, ni feiddiaf finnau
Ddiswyddo y Cymro cau."
" Beiddi, cais ei rybuddio;
Bid i'th farn bai doeth a fo,
Nad rhyw anfadwr a hwn
O brydydd, a briodwn!"
" Naddwn benillion iddi,
Nos Sul, am fy newis i;
Oni'm treisir, nam trasyth,
Ni chaiff Llowdden feinwen fyth!"

Canodd Llowdden yntau gywydd ateb, yn dangos fel y dysgodd ei wers:—

" Teg oedd Ifan, fel cannwyll,—
Llyna deg yn llawn o dwyll!
Ynfyd ydoedd im' anfon
Was teg i neges at hon;
Od â, fyth, i dai y ferch,
Im', gennad, mwy âg annerch,
Danfonaf, o byddaf byw,
At fwynen, llatai fenyw!"

Yn y marwnadau cawn fwy o angerdd nag yn y canu serch yn gyffredin. Sylwyd eisoes ar farwnad Lewis Glyn Cothi ar ôl ei fab bach. Canodd Llywelyn ab y Gutun yntau farwnad i'w fab, cerdd y sydd, ar rai cyfrifon, ymhlith y marwnadau goreu yn Gymraeg. Yn wir, o ran symledd ag angerdd, anodd cael dim i gystadlu â hi. Ieuanc oedd ei fab yntau, a chofia'r tad am ei gampau a'i arferion:—

" Ol ei droed a wela'i draw,
A'i nodau, lle bu'n neidiaw; . . .
Fy ngharwr i'm cynghori,
Draw wrth ymadaw â mi,

Na thynnwn anoethineb,
Ag na wnawn gynnen â neb. . . .
Dynion ifainc a dynnir—
Dyn hen a edy Duw'n hir!
Nid hwyrach croen oen unawr
Na'r ddafad i'r farchnad fawr. . . .
Nid âi hwn, un naid â hydd,
I chware heb ei chwiorydd."

Yna daw'r llinellau angherddol sy'n dyrchafu Llywelyn ab y Gutun i blith y beirdd goreu:—

"Diwynodd, doe, o anab,
Dduw fi'n fy myw, ddwyn fy mab. . . .
Ni fynnwn yn hwy f'einioes
Na'r dydd i Ruffudd a roes;
Marw goel hwn fu'r mawr gulhau,
Marfolaeth, mae ar f'aeliau;
Och finnau uwch y faenol
Na fynnai 'Nuw finnau'n 'i ôl! . . .
Meddyliau am ei ddeiliad
A wna dyn yn hŷn na'i dad;
Pob enaid o'i ddireidi
A fynn Duw, ond f'enaid i;
Boed yfory, bid feroes,
Fo dydd farn, a diwedd f'oes;
Onid hir y mae'n tariaw,
Anffawd i ddyddbrawd na ddaw!"

Y RHY A'R CYNNIL.

Yng nghywyddau Gutun Owain, tua diwedd y cyfnod, cawn ormodiaith y beirdd ar ei eithaf, a'u penillion diarhebol ar eu goreu. Canu mawl y gwŷr mawr y byddai Gutun Owain, a rhoddai iddynt glod difesur, mewn celfyddyd berffaith. Y mae ei gywydd i Abad Llanegwestl cystal engrhaifft â dim o'i waith yn y wythïen hon:—

"Oes wyth o'r bobl a saetho
A blyga ei fwa fo?
Llathen heb yr adenydd
Yn y saeth a dynnai, sydd;
Cawn alw'r cu anwylyd
Campau holl wybodau byd! . . . .
Ni wnai wenyn ein hynys
Draean o'i lyn, draw'n ei lys;
Nid oedd ŵr nod o'i addef
Berchen bwa da ond ef;
Sain ei ergyd fis Ionawr,
Goleuach fydd na'r gloch fawr! . . .
Aur gennych i organwyr
Ar fydr saint, rifedi'r syr; . . . .
Ar win, aur i awenydd,
Aur a dâl bob awr o'r dydd;
Ni chyrraedd llai na chwarel
I roi iwch o aur a êl;
A lanwyd o haelioni
Un dyn ond dy galon di?
Henwer tri hael o honyn,
Heddyw'r tri ydych chwi'ch hun! . . .
Ugain cant blanhigion cwyr
I oleuo, fal awyr;
Ugain dewr benaig yn d'ôl,
Ugeinmyrdd yn dy ganmol. . . .
Nownyn ni ron' yn unoes
Draean yr arian a roes."

Mewn rhyw ymryson neu gilydd, cyhuddwyd Gutun Owain o ormodedd yn y pethau hyn, ac atebodd yntau mewn llinellau sy'n dangos ei fedr yn ogystal yn yr epigram:—

"Be bai gyfiawn bob gofeg,
Beth yw gweniaith ond iaith deg?
Ni thraethir mo'r gwir i gyd
Yn llyfr nag unlle hefyd!"

Ceir llawer o linellau tebyg yn ei gywydd i'r Byd. Nid yw mor ddwys âg Iolo Goch, neu Sion Cent, ond y mae lawn mor fachog. Dyn y byd oedd Gutun Owain, yn cymryd y byd ar ei delerau, ac yn dywedyd y gwir oer am dano eilwaith, pan fyddai gyfle. Dyma ei ffilosoffi:—

"Yma'r ys yn ymryson,
Anras sydd yn yr oes hon;
Mynnu ymarddel mewn mowrdda,
Maddau Duw er meddu da;
Ag arfer llawer o'r lleill
Ydyw arwain [dwyn] da ereill;
Ymladd â llafnau amlwg
Am y da y mae a'i dwg. . . .
Iownach i gybydd enwir
Garu Duw nag erw o dir. . . .
Beth a dâl onid dialedd
Da'r byd wrth fyned i'r bedd?
Dyn a aned yn annoeth,
Nid â i nef ond yn noeth. . . .
Goreu i bawb garu bodd
Y trai, wrth fyned trwodd."

Ceir un cywydd, heb enw awdur wrtho yn y copïau a welais i, sydd yn dduchan o'r medrusaf ar ormodiaith ddifesur y cywyddau canmol. Gelwir ef yn "Ddewisgerdd odidog heb reswm i wroliaeth rhyw Sion." Pwy bynnag oedd ei awdur, dyma dduchan rhagoraf y cyfnod—yn wir, ni dduchanodd yr awen Gymreig erioed yn well:—

"Pwy, â thân poeth o'i enau,
A bair in' ddwyn braw neu ddau?
Sion a'i ddyrnod sydd arnynt,
Ag yn ei gorff egni gwynt. . . .
Cawr dano'n curo dynion,
Cant a ffy rhag gwynt ei ffon. . . .
Rhaid i dduw, o rhodio ddaear,
Wrthych chwi'n ewyrth a châr. . . .
Od âi i'r nef mewn dur noeth,
E ddoi drin ar dduw drannoeth! . .
Ni thynn fodfedd o'i gleddau
Ond i ddwyn enaid neu ddau. . . .
Drws o haearn, draws heol,
Draw'n us a drawai'n ei ôl. . . .
Od oes wŷr beilch, dos i'r bar,
Dy gysgod di a'u gwasgar;
Rhag deufin d'arf, rhag d'ofn di,
Marw eu hunain mae'r rheini!"

Yn ystod y cyfnod hwn, er gwaethaf ei ryfeloedd a'i helbulon, cynhyrchwyd swm mawr o lenyddiaeth Gymraeg y sydd o ran cynnwys yn ddifyr, ac o ran celfyddyd yn ddifai. Drwy ganrifoedd o ymladd parhaus, bron, cadwesid yr hen ddiwylliant Cymreig. Yn ystod y cyfnodau a astudiasom yn fyrr yn yr ysgrifau hyn, cychwynnodd amryw ddatblygiadau newyddion, ond prin y cafodd cymaint âg un o honynt gyfle i ffrwytho, heb son am gyrraedd eu twf eithaf. Dyma drychineb ein gwlad fach ni, ac nid oes dim a'i dengys fel ei llenyddiaeth. Gydag esgyniad y Tuduriaid, dechreuodd cyfnod newydd arall. Daeth y wasg a'r gerdd rydd a'r cyfieithiadau. Ac ni bu Cymru byth yn gwbl yr un fath wedyn

# NODIADAU.

TUDALEN 7.

*hydr*, dewr, grymus. Ymddengys ei fod weithiau hefyd yn meddwl chwyrn, bywiog, neu ryfygus.

*Parth yd fai*, lle bynnag y byddai.

*Gwythwch*, enw dyn? Ceir *hwch* fel elfen mewn enwau, megis Culhwch, Unhwch.

*erfid*, "to be at loggerheads."—Anwyl. "Seems to be the pl. of *arfod*."—Richards. Rhoddai 'r naill a'r llall synnwyr yma, ond byddai'r ffurf yn afreolaidd fel lluosog *arfod*. Lle bynnag y caffer, awgryma'r ystyr gysylltiad âg *arf*.

*cynran*, y rhan gyntaf, neu bennaf; arweinydd, pennaeth.

*arddwyreaf*, dyrchafaf, canmolaf.

*mascul*, gwryw. Lladin, *masculus*.

*cyforun*, Eglurir *cyfor* fel yn golygu llawn hyd yr ymyl. Gweddai swn, neu dwrf, fel ystyr *gorun* gan y Gogynfeirdd yn gyffredin. Felly, *cyforun* = yr un swn. "Nid un swn lle bas a lle dwfn."

*anoddun*, di-waelod, dwfn.

*o Ddyfed i Wyr*, Gŵyr (Gower?)

*hanbych*, ail berson unig, modd dibynnol *hanfod*: yn ddiweddarach, *henffych*.

*diffwys*, lle serth. Fel ansoddair, serth.

*yn nhyno*, *tyno*, tir gwastad, gweirglodd.

*Crist wyn*, arferid *gwyn* am *fendigaid*. Erys yr hen lw Catholig "Iesu gwyn!" hyd heddyw yn ardal Ystrad Fflur, Sir Aberteifi.

*yn newindabaeth yr hen Geltiaid*. Ymhlith amrywiol ddulliau ereill, byddai pobloedd gynt yn dewino drwy frigau a choed. Ceir yng Nghymru amryw arferion sydd yn ôl pob tebyg yn tarddu o'r hen goelion, megis rhoi collen i un y dygo arall ei gariad; cyffwrdd pren rhag anffawd; gofalu na ddyger blodau 'r drain gwynion i'r tŷ. "Câs gan gythraul" y gelwir y *vervain* eto yn Sir Ddinbych.

TUDALEN 8.

*Afallen beren*, pren afalau pêr, i'w wahaniaethu oddiwrth yr afallen sur? Ceir "afal pêr" gan Lewis Glyn Cothi. "Eirin pêr" yw *plums* mewn rhannau o Geredigion. "Peran" yw *pear* yn Sir Gaernarfon a Cheredigion.

*esblydd*, tyner, îr, esmwyth.

*oian a parchellan*; *oian a*, *hoian a*, ebychiadau; *parchellan*, bychanig *parchell*.

*elfydd*, y ddaear, y byd.

*neud*, geiryn i roi pwys ar ddywediad. *Neu* ydoedd ei wreiddyn, ac ymglymai â rhagenwau, fel y ceir *neud*, *neum*, *neur*, *neus*, &c.

*gwlith ar dirion*, ar diroedd. *Tiredd* yw'r ffurf a geir amlaf.

*henaint a lled*; awgryma 'r odl *lledd*, ac y mae'r llinell yn rhy fer o sillaf fel y saif. llesgedd?

*dychrycha*, o *dy* a *crychu*.

*cyntefin*, y gwanwyn, neu ddechreu haf. Cymharer yr ystyr â'r Ffrangeg *printemps*.

*dyar*, swn twrf. O *di-* neu *dy-* ac *iar* am *ghar*? Gwêl nodiad ar *toniar*, t.d. 98.

*calledd*, cyrs, cawn.

*brithotor*, hen ffurf amhersonol. "Y mae'r tiroedd yn frith."

*Ban ganont cogau*, dylanwad cystrawen Ladin; "pan *gano* cogau."

*Llawfrydedd*, tristwch? Ystyr ddrwg sydd i'r gair lle caffer, yn gyffredin.

*llygryd*, yn hytrach, *llycrid*, â'r rhyd yn llwgr, yn fudr.

*conyn*, ffurf unigol *cawn*.

*Ton tra thon*, ton y tu hwnt i don, ton ar don.

*Syniadau Pythagoraidd.* Dysgai Pythagoras (tua 'r chweched ganrif cyn Crist) drawsfudiad eneidiau, ac o'r herwydd, ni byddai ei ddisgyblion yn bwyta cig. Effeithiodd ffilosoffi Pythagoras ar athroniaeth Plato, ac adfywiwyd hi 'n ddiweddarach yn gymysg â Phlatoniaeth Newydd.

*gwledig*, teyrn, brenin, arglwydd.

*Pan oedd ti*, dealler *pan* yma fel "mai"

*tut vytut* Feallai y byddai *cwdd vyddut*, neu *cwdd oyddut* = whence thou wert, or camest, yn well awgrym nag a roed yn y testun. Byddai hawdd darllen *cwt* fel *tut*.

*a'th athechem*, o *techu*, ysgoi, cilio. Cymharer â llinell Gwalchmai "Nid *athechaf* drin drwy ym gythrudd."

*Llwyth eisyfflad*, rhai â lleferydd chwythlyd, gwichlyd, sef y dieifl. Llad., *exsibilati*.

*Digonsawch anfad*, gwnaethoch gam, neu ddrwg.

*Dofyddiad*, Duw. *Dofydd* yw'r ffurf fwyaf cyffredin.

*cyrchaw, crogaw*, cyrchu, crogi. Nid ymddengys bod esiamplau ereill o'r terfyniad hwn.

*rhithad*, "eilwaith y'm rhithiwyd."

"*ceir y trawsfudiadau rhyfeddol hyn, &c.*" Cymharer â "Koadallan," o gasgliad Luzel, *Revue Celtique*, I. Ceir yno yr un trawsffurfiadau âg a geir yn Hanes Taliesin.

*Adoreiwis*, galwodd eilwaith. Ceir *goralw* yn y gair cyffredin *ymorol*, o *ymoralw*. Dengys y cynhaniad nad llafariad oedd yr *w*.

*trybestawd*, cynnwrf, helynt. Ceir y gair ar lafar yn Sir Benfro.

*ffosawd*, ergyd neu arfod cledd?

## TUDALEN 10.

"*Cengl*," yn yr Wyddeleg *ceangal*, "the summing up verse of a poem"—Dinneen, *Gaelic Dict.*

*Gobwyllid*, ystyria, neu feallai, y ffurf orchmynnol, ystyried.

*rhên*, arglwydd.

*Rheged udd*, arglwydd Rheged.

*ae cudd*, a'i cudd, y cudd . . . ef.

*tromlas*, tywarchen drom?

*cywyddaid*, beirdd, neu glod gan feirdd.

*cnud*, haid o fleiddiau.

*dylud*, ymlid, canlyn.

*eirchiaid*, rhai a ofynnai ffafr; o *erchi*, gofyn.

*llyr*, y môr, y llanw.

*llanhwy*, llanwo; *oe* oedd hen derfyniad y modd dibynnol, trydydd person unig; o hwnnw, daeth *wy*, ond symleiddiodd yr *oe* yn *o*, a honno a safodd.

*gwarwy*, ffurf arall ar *gwarae, chwarae.*

*eaws*, eos.

*pan fydd hin haws*: Hen ystyr *hawdd* oedd hyfryd, dymunol. Awgrymir yr ystyr honno eto yn y dywediad "Faint *haws* fydda i?"

*cyflwyn a garawr.* Ceir ystyr *cyflwyn*—peth a rodder—eto yn *cyflwyno*. Heblaw 'r ffurf amhersonol yn *-ir*, ceid gynt ffurfiau hefyd yn *-awr*; *a garawr*, a garer.

*Gwyr a aeth Gatraeth*, a aeth *i* Gatraeth, fel y dywedem ni. Ceir digon o engrheifftiau heb y rhagddodiad.

*oedd ffraeth eu llu.* Ni wedda ystyr ddiweddar *ffraeth* yma, nag yn gyffredin i'r gair fel yr arfera'r Gogynfeirdd. Dealler *bywiog, egniol*, neu *wyllt*.

*trychant*, trichant. Ceir *try* mewn amryw eiriau yn lle *tri*, megis yn *trydydd* hyd heddyw.

*trwy beiriant.* Ceir *peiriant* gan y beirdd mewn cysylltiadau y sy'n awgrymu arfogaeth fel ei ystyr.

*yn catäu*, yn trefnu eu cad.

*cyd elwynt*, elont. Anghyffredin fel terfyniad trydydd pers. lluosog y modd dibynnol.

*dadl*, lle cyfarfod, yma.

*treidu*, treiddio? Cymharer a'r Llydaweg *treiz*, "action de passer d' un pays dans un autre"—Le Gonidec.

## TUDALEN 11.

*ebyr*, aberoedd.

*pan llithiwyd*, pan geisid ei ddal? Neu pan borthid ef. Ceir y ddwy ystyr i'r gair.

*neb a wanai, nid adwenid*, ni byddai raid ail wanu 'r neb a wanai.

*cyd bai da ei flas*, er bod ei flas yn dda.

*eryfain brain ar goludd*, lluoedd o frain? Ond arferir *eryfain* ac *eryfoedd* weithiau fel pe bai 'r gair yn golygu swn.

*a dan bridd a main*, o dan bridd a cherrig. Yn Sir Ddinbych, clywir *a dan* eto.

## TUDALEN 12.

*calon goddaith wanwyn* Cyfeiria'r Gogynfeirdd yn fynych at yr oddaith wanwyn.
*a'm gwân ei gweled*, y mae ei gweled yn fy ngwanu.
*heb döed*, heb do.
*marw fy nglyw*, marw fy arglwydd ; *glyw*, brenin, arglwydd.
*cynired*, myned, neu yrru, yn ôl a blaen.

## TUDALEN 13.

"*Prydydd y Moch.*" Gallai 'r enw darddu o "y Prydydd Moch," moch = buan, cyflym. Cyfrifid prydyddu 'n fuan yn gamp Ganol y ganrif ddiweddaf, yr oedd yn Sir Ddinbych fardd gwlad a elwid "Wil Brydydd Buan." Ond ni cheir llawer engrhaifft o'r gair ***moch***, a'r rhai a geir yn bennaf mewn ffurfiau cyfansawdd. Tebycach mai llysenw oedd. Cymharer â "Llosgwrn Mew," "Llygad Gŵr," "Y Crach," "Y Posned," "Bleddyn Was y Cwd," "Mab y Clochyddyn," &c. Dengys hyd yn oed ffug enwau 'r ganrif ddiweddaf fod cryn elfen o ryw orchest neu ddigrifwch hanner diymwybod yn yr arferiad. Digon tebyg mai llysenw oedd gwreiddyn y ffug enw. Awgrymodd Stephens alw Llywarch ap Llywelyn yn "Brydydd y Moch" am y gwyddid ar y pryd mai efô a ganodd yr "Hoianau." Gallai hynny fod, ond nid yw arddull y cerddi hynny yn debyg i arddull y cerddi a briodolir i Lywarch.

## TUDALEN 14.

*Marwysgafn*, gwely marw. Ceir ***maro-skanv*** yn Llydaweg am y fainc y dodid cyrff y meirw arni. Ceir "ysgafnu" eto yn Sir Ddinbych am wneud dâs ŷd. Tardd *ysgafn* o'r Lladin *scamnum* = mainc, meddir. Marwysgafn, felly, fyddai cân dyn ar ei wely marw.
*efnys*, gelynion.
*Eingl ddidudydd*, difrodwr yr Eingl.
*cyfluydd*, byddin, gwersyll, rhyfel.
*atgoryn*, atgorent. o *atgori*, dychwelyd. Y syniad yma yw agwedd neu ymddygiad.
*udd Mon meinddydd*, arglwydd Mon, gyda'r wawr. Bu ymlid trwy'r nos hyd y bore, medd *Hanes Gruffudd ap Cynan.*

*peithwydd*, gwiail neu goed gwehydd. "Swniai pennau dan y llafnau fel peithwydd ?"
*Llenwy[n]t du reawr i fawr feysydd : gre* = ***herd, stud***, gyda'r terfyniad lluosog *-awr*? Ai *greawr* = ***herdsman***, gyda rhyw air a barai leddfiad, o'i flaen ?
*llurigawr*, llurigau.
*trychni*, torri, clwyfo ; *trychion*, clwyfedigion.
*yrddudd*, erddynt ; ceir ***yr*** mewn Cymraeg canol am *er*, a cheir ***-udd***, yn gystal âg ***-unt***, lle 'r arferwn ni *-ynt.*

## TUDALEN 15.

*Ac eryfoedd trwm*: Gellid darllen *ac eryf oedd trwm*, "a thrwm oedd y rhuthr," neu "y floedd."

*rhag tremid angau*: "rhag golwg angau," feallai ; ond ceir *tremid* fel berf gan Owain Cyfeiliog—"Tremid gofwy mur Maelawr drefred." Awgryma 'r cysylltiadau berthynas â'r gwreiddyn *trem*, efallai drwy *tremm-*.

*Wynedd crau ac eryfain*: Ceir *gwnedd* fel pe bae'n golygu glewder, ond y tebyg yw mai rhyw air arall sydd yma. Ffurfia 'r llinell yr ail o bennill o'r un natur â'r Toddaid, ond y mae 'n rhy hir i Doddaid Byr ac yn rhy fer i Doddaid Hir. Gellid awgrymu *llynnau creu* = *pools of blood*, gan y buasai 'n hawdd darllen *ll* fel *w*, a *d* (am *dd*) fel *u* â chorn uchel iddi.

*rhudd feirw rhain*, "cyrff meirw wedi sythu yn eu gwaed." Rhydd yr ystyr hon synnwyr yma. Ond awgryma rhai engrheifftiau ystyron ereill i *rhain*.

*eu hargyfrain*, claddu, yn ôl M. Loth (*Rev. Celt).* Paratoi 'r corff at ei gladdu, feallai. Cymharer â'r engrhaifft yn "Llyfr Taliesin"—"Kyn vy argyvrein ym garw gyfloc." Tyb M. Loth mai yr un un yw'r elfen *-rain* â'r gair *rhain* (gwêl y nodiad uchod).

*cyngrain*, llwyr, cyflawn ; o *cyn* a *crain*?

*yn yd byrth berthdud golud gwylain* : Ceir *tud* weithiau yn Gymraeg yn golygu pobl, fel yn Llydaweg, ond gellid hefyd ddarllen —"Onid oedd y wlad deg yn dwyn ysglyfaeth i'r gwylain."

## TUDALEN 16.

Hirlas Owain. Awgryma natur arweiniol y pedwerydd pennill y dylai fod yn drydydd. Enwir Rhys yn y trydydd pennill. Crybwyllir Gwgan yn y pumed, a dilynir y crybwylliad gan linell yn ei alw ef, a rhywun arall, yn "genawon Goronwy." Awgryma hyn hefyd fod trefn y llinellau wedi ei newid. Yn y chweched pennill, enwir Gruffudd, ond y mae'r berfau yn y rhif lluosog eto. Casglaf felly mai nid ansoddair am y corn yw "argynfelyn," ond mai 'r enw Cynfelyn sydd yma. Ceir "ar" yn yr un cysylltiad mewn llinellau ereill o'r gerdd. Yn y seithfed pennill, sonnir am "ddau ddiofn anian," ond nid enwir ond Ednyfed yn y testun fel y saif. Fel hyn y mae trydedd llinell y pennill:—"Ar llaw deheu ein llyw gyvlavan." Nid yr "ein" a ddychmygodd Salesbury, wrth gwrs, sydd yn y llinell. "Euein" y sillefir Owain yn nheitl ac yng nghorff y gerdd. Gellid felly ddarllen "Ar llaw deh Euein llyw gyvlavan." Safai *deh* dros ryw ansoddair am y llaw—*de*, feallai, neu *llawdde*, canys ceir *llawddeawc*. Ceid felly ddau enw.

*marwnad fu, &c.* Cyferbynnir *moliant* yn un llinell â *marwnad* yn y llall. Gellid awgrymu hefyd fel darlleniad posibl:—"Marwnad, nu [yn awr], meu dru, newid y ddau." Pe darllenid *neud mi* fel yn golygu *neud i mi*, ceid odl fewnol trwy ddarllen *marwnad vi*, *bi*, dyfodol o *bod*, gyferbyn âg *yw* yn y llinell arall.

## TUDALEN 17.

*bûr*, ffos, neu glawdd.

*mi rydynnaf dan ei aflwydd*: Darllenodd rai *rhydyngaf*. Gweddai hynny i rai pethau yn ysbryd y darn, ond tebycach mai *rhydynnu* yw'r ffurf, ac mai'r ystyr yw dioddef. Cymharer â'r Lladin *retineo*.

*am aes digwydd*: Darlleniad *Llyfr Du'r Weun* yw "am aestrygwydd." Gellid awgrymu "am ystigrwydd," neu "am ostegrwydd." Ond gwêl "aes gychwyn," gan Walchmai, a chyferbynner âg "aes digwydd."

*Mor dreisiwr hagen, &c.*: Engrhaifft dda o *mawr* yn colli ei acen ac yn cymryd ystyr arall. Ceir rhai engrheifftiau lled ddiweddar o'i arfer fel hyn gydag enw.

*cymryd croesau*, myned i'r Groesgad? Arferid yr ymadrodd yn yr ystyr honno. Sylwer hefyd ar y llinell "A syniwn ar beth o'r pregethau"—yr oedd arbenigrwydd ar bregethu 'r rhyfel y pryd hwnnw, fel heddyw. Mewn awdl arall gan Ddafydd Benfras, sonnir arwed fyddai "Môr Groeg" yn Ionawr. Clywsai am dano, onis gwelodd.

*iolwn*, molwn, gweddïwn; *iawl*, mawl, gweddi.

*seiniau*, saint.

*Crist a ŵyr yn llwrw a ganaf*: Ceir hefyd y ffurf yn *llwry*. Awgryma 'r odl fewnol *yn llwyr* yma.

*cwdd wyf, cwdd af*, pa le yr wyf, pa le yr af.

*ni mawr guddiaf*: Yn y testun, *ni mawr wdaf*; gellid darllen *udaf* neu *wadaf* hefyd.

## TUDALEN 18.

*Fel y deryw y derynt*: Y mae *gwydd* yn yr ail llinell yn awgrymu *derw* yn hon. Ymddengys mai trydydd pers. lluosog gorffennol *darfod* yw *derynt* yma.

*ni 'm oes*, nid oes i mi.

*cawdd, coddiant*, llid, gofid, poen.

*rhyfedd yd eddyw*, rhyfedd yr aeth.

*trumain*: Ceir y gair mewn lle arall fel pe bae'n ffurf luosog. Gellid darllen *tramain* yma.

*Ys mau*, y mae i mi.

*Ymddifanw*, ymddadleu, ymresymu. O *difanw* y daw *difenwi*. Sylwer mai ar yr ail sillaf y mae 'r acen.

*rhewydd*, nwydau.

*y byd wedi bydiaw*, wedi treulio. Ceir y berfenw eto—"Lle 'r wyt ti 'n bydio rwan?"

*na ddaw môr tros dir*: Gweler y syniad hwn ym *Muchedd Dewi*, yn *Llyfr yr Ancr*: "Och na ddaw y môr dros y tir."

## TUDALEN 19.

*brwyn-gyngor braw*: *brwyn*, tristwch, gofid.

*Canu y Byd Bychan*: Gelwid dyn yn "fyd bychan" *(microcosmos)* o'i gyferbynnu â'r "byd mawr" *(macrocosmos)*.

*Marwnad y Fil Feib*: Sefydlwyd gŵyl yn y bumed neu'r chweched ganrif er cof am blant Bethlehem, a laddwyd gan Herod. Cedwir hi ar yr wythfed ar hugain o Ragfyr. Yn Eglwys Groeg, ar y 29ain y mae, a gelwir hi 'n Wyl y Pedwar Cant ar Ddeg.

*gwargred*, gweddill.
*a lewed*, a dreuliwyd, a orffennwyd. Ceir *llewa* ar leferydd o hyd.
*domo clausa*, o'r tŷ cauedig.
*extra porta*, oddiallan i'r porth.
*y ar* = oddiar; *elorwydd*, coed elor.

## TUDALEN 20.

*adaf*, llaw; *etewyn*, tewyn; *y dyfu*, y daeth—o *dyfod*. Ceir hefyd *dybu* a *deubu*.
*Awdl i Ddewi Sant* (Gwynfardd Brycheiniog). Cyfetyb ar y cyfan i *Fuchedd Dewi* yn *Llyfr yr Ancr*, ond y mae ynddi rai pethau na chrybwyllir yno.
*bagl ferth*, ffon deg neu werthfawr. Lladin, *baculum*.
*rypenyd pechawd*, penydio dros bechod.
*oriau*, gweddïau.

## TUDALEN 21.

*lluoedd lleseint*, lladdwyd lluoedd. Ffurf luosog *llas*.
*difiawg*, gwyllt, anhydrin.
"*Yr allor a llen uwchlaw iddi*": Geiriau 'r awdl yw "A llen uch allawr heb allu clwyf." Feallai mai *llên* yw'r meddwl, sef y gwasanaeth.

## TUDALEN 22.

*a ddigonais*, a wneuthum. Sylwer bod yr ystyr ddiweddarach i'r un gair yn y llinell hon, gydag effaith rhagenw mewnol arno, ond odid:—"Canys *dichon* Dewi nis *dichonwyf*."
*cynglwyf*, trosedd?
*uffern bengwern*: Ceir llawer cyfeiriad at uffern fel *gwern* neu *gors* gan y beirdd.
*llog*, lle. Llad., *locus*. Gwêl t.d. 22, "na *llog* na llannau."
*a goddwy Crist*, a ddigio Grist.
*i ddifwyn ei far*, i wneud iawn, i arbed ei lid.
*Dyniaddon*, dynion. Ceir *dyneddon* hefyd.
*dawn ysym*, dawn y sydd i mi.
*trylwyn bwylladau*, meddyliau parod.
*Duw ryddigawn*, Duw a'u gwnaeth.
*yn eisiwedig*, yn anghenog.
*pwll mwll mud*, y bedd; *mwll*, trymllyd. Clywir eto—"tywydd mwll."
*eddyllter*, aniweirdeb. Llad., *adulterium*.
*ni cheuntosti*, ni chenaist.

## TUDALEN 23.

*breuawl riau*, brenhinoedd brau, marwol, o'u cyferbynnu â Duw.
*amdlawd*, tlawd iawn.
*caredd*, pechod.
*digraid*, nwydus? Digwydd y gair amryw weithiau, gydag ystyr amhendant.
*mysterin*, meirch rhyfel? Cymharer â *mwstwr*, *mwstro*, cynnull milwyr.
*cynnif*, ymdrech, llafur, ymryson.
*dylaw*, trin, tryd. pers. unig, amser pres. *dylofi*? Cymharer llinell Prydydd y Moch—"Gnawd y dyn *dylaw* dylif ny gwe."
*cynhwynawg*, cyffredin.
*y bresent*, y byd hwn.

## TUDALEN 24.

*didryf*, lle disathr, unig.
*Ynys glân y glain*, y glanaf o'r rhai glân. Neu, efallai, *glan y glain*, glan lle ceid meini y gwneid gleiniau o honynt.
*Gwrthrych dadwyrain*, rhai a atgyfodir. Cymharer "Dadwyrain o Feddau" yn *Llyfr Taliesin*.
*gwrthfyn*, derbyn; *a'm gwrthfynned*, derbynied fi.
*di-garad*, truenus, di-nawdd.
*ceiniad*, canwr, bardd.

## TUDALEN 25.

*Dygetawr*, dygir. Ceir ffurfiau amhersonol o'r fath yn y brydyddiaeth gynnar. Gwêl t.d. 8, *brithotor*.
*gwirin*, glân, pur.
*brodorion*, dynion o'r byd, gyferbyn âg angylion.
*Treisio Uffern*: Credid ddisgyn Crist, ar ddydd Gwener, ("y dydd goreu"), i uffern a'i gorchfygu, a rhyddhau 'r eneidiau oddiyno. Dyna ystyr y cyfeiriadau mynych at "brynu pumoes byd."
*afflau*, gafael. Clywir "llond i haffle" eto yn Sir Ddinbych.
*poethfan*, cynnud llosg; *tanwent* yw coed tân yn Sir Benfro. *Poethwen(t)*, feallai, ac o hynny, *poethwan*, gydag *f* am *w*. Cymharer *poethfel*, *poethwel*, a *poethwal*.
*gwrys*, ymryson; o *gwo* a *rhys*?

*pydew llenrew*; pydew â llen rew arno. Cymharer â Dante:—

"E sotto i piedi un lago, che per gelo
Avea di vetro, e non d'acqua, sembiante."
—*Inferno, xxxii*, 22-23

*cyllestrig*, o feini caled, cerrig tân.

*peithfrig*, â brig danheddog.

*cohawcwrych*, â gwrychyn coliog. "Avon aruthyr yn llawn o bryfuet kythreulic." —*Breudwyt Pawl Ebostol.*

*caethau*, caethion.

*peiraid*, llond pair.

*cethri osglawg*, hoelion, neu ffyn ceinciog.

*llygod pengarn a'r gylfinau carn*, â'u pennau a'u gylfinau o garn.

*a phob cyfriwg*, darlleniad arall—*a phob ryn kvvruc*=*a phob rhyw gyfrwg*, o *cyfr* a *gwg*.

*eiddiorwg*, eiddew. *Iwrwg* yw gair rhannau o Wynedd a Phowys eto.

*fy llef llwybrawd*, y mae fy llef yn llwybro.

*yny edrino*, oni lefo, oni seinio.

## TUDALEN 26.

*ceudawd*, meddwl.

*rhybuchaw*, dymuno, deisyfu.

*na'm pedych*, na ymosodech arnaf. Llad., *peto*, ymosod, rhuthro ar.

*ffordd ddidro*, ffordd gyfeiliornus.

*tra geffych*: clywir y meddaliad hwn ar ol *tra* eto yng Ngheredigion.

*ei gydych*, ei gyd ŷch.

*Delw werthforaf*, fwyaf ei gwerth.

*glud*, gofalus, dygn.

*alaf*, cyfoeth. Cymharer *cyfalaf*.

*a gweryddon, aig wareddawl*: Ni ddichon bod *aig* yn iawn. Gellid darllen *ae* (*a'u*) *gwareddawl*, neu *eir* (air) *gwareddawl*.

*bydaid*, gwenyn, cysylltedig â *bydaf*?

*gryniaw tyndir o ro*, gwneuthur gro yn gefnau—arddu'r tywod, fel Arglwydd Rosebery.

*haeddu awyr â bach*, dal gafael. Cymharer â *cyrraedd*.

*efwr*, enw ar lysewyn, ond nid yr un un ymhob ardal lle 'r arferid y gair.

*chwerthiniad ton*: un yn chwerthin yw ton.

*rhagreithia*, barn ymlaen llaw; o *rhag* a *rheithio*.

## TUDALEN 27.

*Mochdwyreawg*, yn cyfodi 'n gynnar.

*dyffestin*, buan, cyflym.

*Maws*, hyfryd, mwyn. Arferir yn aml fel pe bae 'r un peth â *masw*.

*lluch*, mellten.

*gorddin*, rhuthr, ffyrnigrwydd.

*achadw*, gwylio, cadw. Ar y sillaf gyntaf y mae'r acen.

*Gorloes rydau*: yn berwi ac ewynnu, o *gor* a *gloes*. Cymharer â llinellau Sion Phylip i'r môr—

"Gloesio 'r môr a glasu'r main,
Gloesio 'r dŵr glas o'r dwyrain."

*Goddyar*, murmur; *lleithron*, ffurf luosog *llathr*.

*A golygon hwyr hirwyn ei grudd*: Prin y gellid dywedyd hyn am yr eos—cyfeiriad at y ferch y canai iddi—"a golygon araf [yr un] hirwyn ei grudd?"

*cadr*, teg, fel yn Llydaweg, yn hytrach na chadarn, fel y ceir ystyr y gair yn ddiweddarach.

*ethais*, sedd, meddir. Y mae rhyw sail i hynny. Rhydd *dasti- dâs* yn Gymraeg (gwêl Stokes, *Urkelt. Sprach*). O *ati-* (am, ar), a *dasti*, ceffid *ethais*.

## TUDALEN 28.

*dylan*, môr. Gynt, efallai, un o dduwiau 'r môr. Cymharer, Dylan eil Ton.

*Gyfylchi*; ceir Dwygyfylchi yn agos i Lanfairfechan.

*lefawr*: fe allai y gellid darllen *llefair*, neu *lef fawr*.

*Caraf y meysydd a'u mân feillion arnaw*: Gofyn *meysydd* y ffurf *arnynt*. Sonia'r gerdd am Feirionydd. Awgryma hynny "ar Faw." Gellid hefyd ddarllen "Caraf y maes sydd a'r mân feillion arnaw."

*ffaw*, clod. Llad., *fama*.

*breoedd*: Ceir *-oedd* ac *-ydd* fel terfyniadau lluosog, megis *gwladoedd, gwledydd*. Gellid hefyd ddarllen: *bro oedd braint hywredd*.

*marannedd*, ymborth, cyfoeth?

*gorpwyf*, gorfyddwyf, enillwyf. Ceir *gorpo* gan yr un awdur.

*gwyraws wydd*, gwyros—*privet.*

*gorne*, lliw, o *gor* a *gne.*

*gorun*, swn. Gwêl, t.d. 29, "Gorun gwynt gwaeddfan."

*aches*, llanw. Llad., *accessus.*

*morgymlawdd*, môr terfysglyd.

## TUDALEN 29.

*toniar*, tonnau, y môr. Gallai ddyfod o'r gair *ton* a'r gwreiddyn *gâri—*, ond gydag *a* ferr; neu, feallai, yn debycach, o'r gwreiddyn *garô* (gwêl Stokes, *Urkelt. Sprach*). Rhoddai hynny *toniar*. Cymharer hefyd *baniar*=llef uchel? "Ac am dâl Moelfre mil *fanieri*," Gwalchmai; "Molyant llew lletawt om *bannyar*," awdl ddienw, *Poetry of the Gogynfeirdd*, t.d. 169. Ni rydd ystyr *baner* synnwyr yn yr ail llinell, ond rhydd *llef* uchel. Wele engrheifftiau ereill o'r gair:—"Gwr gwrt y *uannyar*," Cynddelw; "Ry lloues rwyf tres tros *uannyar* y veirt" ("gwnaeth y brenin wrhydri tros ben clod uchel ei feirdd"); "Yn dyllest bartrin beirt *uannyeri*"; Prydydd y Moch; "Ar helw bun araf uch *bannyeri* ton, Tynhegyl a gerteisy, gortwfyr Deiui," Einion ap Gwalchmai; "Drud *uannyar* druduar drudualch ner"; "Gwr *uannyar* gwrt uar Gwyndoleu," Cynddelw. Cymharer hefyd *gwynnyar* (swn gwynt?); *Kunyar* (un â llais arglwyddaidd?); *ufelyar* (twrf tân?) gan Walchmai; "Toryvoed aer viloed awr *ufelyar*," Gruff. ap Maredudd; ac "Ysgarlad lliw ffleimyad *fflamyar* (swn fflam?)" Prydydd y Moch. Am *gh*=*i*, cymharer *Peniarth*, *miliast*, &c.

*toredwynt*, trowynt, hyrddwynt. Ceir hefyd gan Owain Cyfeiliog ac ereill.

*gwaeanwyn*, ffurf gynharach *gwanwyn.*

*gwynnawn*, coed sychion.

*hoewal:* Awgryma'r llinell hon mai lle rhedo'r dwfr yn gyflym, yn gerynt hir, yw ystyr y gair. Arferir *llwfr* am swrth eto, megis "tywydd llwfr"; *aflwfr*=chwyrn. Cymharer llinell Meredydd ap Rhys "Hely'r wyf *hoewal* yr afon."

*cwyddaw*, cwympo. Ceir yn *di-gwydd.*

*edrinaw*, clecian.

*ongyr*, ffyn, neu belydr o ynn; o *onn* a *cyrf*, lluosog *corf*? Gweler hefyd *afallgyr*, gan Walchmai.

*adfan*, lle uchel; o *ad* (=ar, uwch ben, *ati-*, *ate-*, gwêl, Stokes, *Urkelt. Sprach.*), a *man.*

*gwaeddfan*, uchel ei waedd; neu ynteu 'r terfyniad a geir yn *cwynfan*, *griddfan*, &c.

*gorddwy*, gwylltineb, gerwindeb. Ceir y gair mewn enwau lleoedd yn Nyffryn Clwyd—"Rhyd Orddwy Wen," "Rhyd Orddwy Fawr." Rhed yr afon yn chwyrn ger y lleoedd hynny.

*ystyr*, meddwl, yn gyffredin, ond prin y tâl hynny yma. Terddir y gair o *historia. Talgarth ystyr*=Talgarth of the stories, historic Talgarth?

*meiriol*, toddi. Ceir y gair "gwynt meiriol" eto yn Sir Ddinbych.

*ceithiw*, caeth.

*gwaethreg*: gellid darllen *nid gwaeddgreg*, a chael synnwyr da. Gwêl, t.d. 30, "hoen gwaeddgreg waneg."

## TUDALEN 30.

*Gweilging*, "beam, bar, perch"—Anwyl. Felly yn y Mabinogi, "Gweilging arian ar y ddwyfforch, ac ar y weilging, llymysten." Yma, *clwyd*? Gwêl yn is i lawr "Gweilging saffir"=*Fibula*? "That which serves to fasten two things together. A brooch. The head band or fillet, which confines the hair, and which was fastened by a buckle. A clasp. A buckle. In carpentry, a brace or trenail."—White's *Lat.—Eng. Dict.*

*arien*, barrug.

*huenydd*, lluosog *huan*, neu o *huan* a *dydd*?

*hoen gwawr ddwyre*, yr un lliw â'r wawr fore. Daeth *hoen* yn gymeradwy iawn yn yr ystyr hon.

*cymryd*, yr un bryd â.

*nif*, neu *nyf*, eira. Llad., *nivis.*

*gorthir*, y wlad uchaf, o *gor* a *thir.*

*rhyn*, oer, *rhynnu.*

*basryd*, rhyd bas.

*gwelwgaen*, ton welw? Cymharer *caen*, yn "caenen o eira." Gweler "Gorlliw gwelwgaen" ar yr un tu dalen.

*geirw*, cwympiadau'r dwfr.

*gem gyfwlch*, gem wedi ei thrin a'i gosod.

*moreb*, glan môr, hafan.

*ertrai*, y trai pellaf.

*sirian*, cherries. Cedwir y gair eto ar lafar yn ardal Llangollen, lle y mae Castell Dinas Bran.

## TUDALEN 31.

*Cymrawd ewyn dwfr*, cyffelyb i'r ewyn; neu ynte *cymradw*, toredig?
*cyfleuer*, yr un oleu â.
*amaerwy*, o *am* ac *aerwy*.
*gwylain*, gwylanod.
*amgall o bwyllad*, meddwl gofalus.
*erniwed*, niwed, poen.
*nis rhyborthes neb*, ni ddioddefodd neb.
*cyfariaith*, ymddiddan.
*gwery*, gwyry, pur.
*Eiddig:* Awgryma 'r gerdd hon, yn gystal â cherdd Efa, ac awdlau Hywel ab Owain Gwynedd, bod y traddodiad a ddatblygodd Dafydd ap Gwilym wedi dechreu eisoes. Sylwer mai yr un un yw agwedd y merched âg osgo'r rhai y canai Dafydd iddynt. Ymffrostia Hywel hefyd yn rhifedi ei gariadau, a dymuna gyfarfod â gŵr un o honynt â'i gledd yn ei law. Y mae Cynddelw, Hywel, a Llywarch ap Llywelyn yn annerch llateion, neu genhadau, a chrybwylla'r tri eu meirch. Gwna Iorwerth Vychan yr un peth. Awgryma un o benillion Hywel ab Einion ryw gysylltiad rhwng ei farch yntau âg ystori Trystan. Dengys y pethau hyn ac ereill fod y canu hwn yn draddodiad cyn oes Dafydd ap Gwilym.
*Pe chwaerei y budd i'r barddoni*, pe bai'r budd gyfartal i'r barddoni? Ceir *cychwiawr* ac *anghychwiawr* fel pe baent yn golygu perthynas ac amherthynas. Neu ynte cymharer â'r Llydaweg *c'hoarvezout* = digwydd, a'r llinell hon gan Walchmai—"Astrus chwedl ry *chweiris* i Gymry."
*ehoeg*, grug, o liw'r grug.

## TUDALEN 32.

*rheg*, rhodd, cymharer *an-rheg*; *rhin*, cyfrinach, swyn.
*tandde*, gwres, poethder.
*ni bo boen oddef*, na bo'n dioddef poen.
*Hoewfun ludd hun*, y fun a rwystrai gwsg.
*brwysgflaen:* arferir *brwysg* am sigledig, a hanner meddw.
*difrisg*, glân, heb ei ddifwyno; o *brisg*, ôl, llwybr.

## TUDALEN 33.

*madws oedd*, yr oedd yn llawn bryd.
*urael*, "cloth made of asbestos"—Richards.
*sindal*, neu *syndal*, deunydd gwisgoedd. Hen Ffrangeg, *sendal*, *cendal*; Lladin bas, *cendalum*, a elwid felly, meddir, am ei ddwyn o'r India; drwy'r Sanscrit *sindhu*=afon Indus, Scinde, o *syand*=llifo.—Lloyd's *Encyclopædic Dict.*
*pali*, sidan caerog.
*owmal*, *enamel*. Clywir y gair eto.
*gra*, math o frethyn, neu liain.
*ffion:* dyna y gelwir y bysedd cochion eto yng Ngheredigion. Mewn hen Gymraeg, ceir y gair am rosynau.
*am faniwo*: Hwyrach y byddai *am feniwo*=*am fy niweidio*, yn well awgrym nag a roed yn y testun.
*ym Duw lywydd:* ceir *ym* yn fynych yn lle *myn*, mewn llyfon.

## TUDALEN 38.

*Mabinogi*. Gwel ysgrif gan Mr. J. Lloyd Jones yn "Y Beirniad," 1914, a "Bardism and Romance," *Cymmrodorion Society's Publications*, gan awdur y llyfr hwn.

## TUDALEN 40.

*taeogeu*; "The taeogs were husbandmen, and were bound to furnish the lord with certain victual renders, and to lodge and provision various official persons and allies of the prince while quartered in the country."—Aneurin Owen.

## TUDALEN 41.

*cordwal*, lledr Cordova.
*crau*, cut moch.
*eurych*, gof aur, yna tincer, yna, yn Sir Fon (gwêl *Y Beirniad*, 1914),—drwy fynd dwy alwedigaeth yn un, y mae'n debyg,—dysbaddwr. Cedwir yr hen ystyr, feallai, yn yr enw *Cod eurach*, neu *eurych* =*puffball*.
*gwäegau*, byclau.
*madarch*, caws llyffant, *mushroom*.
*delysg*, math o wymon môr.

## TUDALEN 43.

*Gwraig ddigonach ei theced a'i theledîwed no hi*: Hen ystyr *digon*, fel *dichon*, oedd medru, gallu, a cheir y berfenw *digoni* yn golygu peri, gwneuthur. Yma, trinir y gair fel ansoddair, a'i ddodi yn y radd gymharol. Trinir *teced* a *theledîwed*, ffurfiau cymharol *teg* a *thelediw*, hefyd fel enwau.

*draenen âg arni ddau flodeuyn ar ei bedd hi:* Ceir ystori Arabaidd âg ynddi 'r un peth bron yn gymwys.
*tynghedodd ei fam ynghyfraith ef na chai wraig fyth.* Cymharer â rhan y llysfam mewn llawer ystori Wyddeleg.
*camse*, crys, gwisg. O'r Arabeg *kamîs*, a arferir o hyd, drwy 'r Lladin bas *camisia*. Ffrangeg *chemise*.
*mererid*, gem, perl. O'r Llad. *margarita*. Cedwir yr *g* yn y ffurf *meryerid*. Ceir y gair fel enw merch yn Llydaweg yn y ffurf *Marc'harit*. Gwêl, t.d. 52.
*canawan gotrwyth*: Arferir *cynawon* am *catkins*. Yr un gair yw yn ddiau â'r gair Gwyddeleg *ceanabhán*=bog-down, cotton-down. Tebyg hefyd mai o *fothlocht* y daw *gotrwyth*.

TUDALEN 51.

*Saleg*: Ar fap Speed, 1610, ceir Saleg a Maesaleg fel enwau afonydd yn yr ardal.

TUDALEN 52.

*duaw hon*, ei gwisgo â du.
*myr*, moroedd.
*mwrai*, trwy'r Saesneg *murrey*, o'r Hen Ffrangeg *morée*, lliw cochddu.
*mwyalchod teg ym mylch ton*: diweddariad o *Mwyeilch teg ym mylchau ton*, feallai.
*didywyll, di* i grythau'r ystyr.
*y berwr*, berwr dwr, *water cress*.
*ermoed*: treiglid gynt. Safodd y 3ydd pers. unig, *erioed*.

TUDALEN 53.

*bro Eithindan*. Cofier hefyd *Eithin fynydd*. Prin y mae ardal yng Nghymru heddyw âg ynddi gymaint o eithin blodeuog âg a geir oddeutu Llanbadarn a Bro Gynin. Y mae "bro eithindan" yn ddisgrifiad ardderchog o'r wlad.

TUDALEN 54.

*Ym Mynyw 'r wyf ddyn hoywfar:* Awgryma'r gynghanedd mai cam ddarlleniad yw *ddyn hoywfar* am *Wenhwyfar*, ond enwir Morfudd yn y cywydd hwn. Teitl cywydd arall yw "I Wenhwyfar o Fon." Dengys y pethau hyn a'u tebyg nad oes goel ar yr enwau.

*Yn gwrando ar Salm Balchnoe*. Gwnaeth Pughe Falchnoe yn gerddor enwog, &c., er mai dyma'r unig sail. Y tebyg yw mai i gopïwr y rhaid diolch am yr enw yma. Gellid awgrymu—

"Yn gwrando ar salm dalmoedd
Yng nghor Bangor Ddeiniol 'dd oedd."

*dyrnfol*, maneg. *Dyrnolen* a *dyrnwil* (am *dyrnfyl*) a ddywedir am fenig cau yn Sir Ddinbych eto.
*lliain hoew:* Sylwer mai un sillaf yw *hoew*.
*Mair neddair nawdd*, Mair a'r llaw amddiffynnol.
*a'i diaur*, a'i diheura.
*i'm haur*, im trysor (fy aur). Bydd mamau 'n dywedyd wrth eu plant "Tyrd yma, 'r aur."
*gyrddwaew*, o *gwrdd* a *gwaew*.
*Eluned oleuni*, mor deg âg Eluned y rhamantau.
*gwaedwng*, o *gwae* a *twng*.
*ofered gymwyll*, o feddwl, neu ddyfais ofer.
*difenwawd*, cân ddifai.

TUDALEN 56.

*trinoedd*, brwydrau.
*yn*, i ni.
*Drud byd*, y dewraf un yn y byd.
*noethud, nithud*, noethit, nithit, heddyw.
*Rhad Duw*, gras neu rodd Duw.
*neddyf*, bwyall findraws, *adze*.

TUDALEN 57.

*Fy myd wen, mi yw dy ŵr*. Gadewir *f* heb ei hateb mewn cynghanedd yn fynych.
*a'th drws*, a'th drwsiad.
*olofaidd wisg, golofaidd*, peth yn cuddio. O'r un tarddiad â *golo*?
*a ddeiryd*, a berthyn.

TUDALEN 58.

*Merch fydd decaf blodeuyn*. Ceir y syniad gan fwy nag un o'r beirdd. Canodd Wiliam Cynwal:—

"Merch sy deka 'n y nefoedd,
Ond Duw, brenin brenhinoedd
Ac ar ddaear a moroedd,
Ar aned o'r holl bobloedd,
Merch sy deka 'n ei blodau
A gorau i gweithredoedd."

TUDALEN 59.

*Y fedwen yn bawl haf.* Priodolir y cywydd hefyd i Ruffudd ab Adda.
*Fu dy glos,* S. close, cloister; lle cauedig. *Clôs* yw cae eto yn neheu Ceredigion.

TUDALEN 60.

*archgrwn,* crwn ei fron. O'r Lladin *arca,* cist.

TUDALEN 61.

*Madog Benfras.* Cyfeirir at ei enw ef yng nghofnodion tref Wrecsam, yn 1340, meddir. A oes sicrwydd am y dyddiad?
*lliwod,* lliw ôd, eira.
*rhaeadrflaen,* blaen rhaeadr.
*syndalwe,* gwe o syndal.

TUDALEN 62.

*Bola Baiol.* Ceir cyfeiriad ato gan Dafydd Llwyd ap Llywelyn mewn cywydd lle crybwyllir Gwerfyl Mechain a Llywelyn ab y Gutun, *Llyfr Elis Gruffydd,* 4 B., a *Llyfr Vicer Woking,* 469, Caerdydd:—
"Ni vyn elw ond vy nilid
Ar vol boly bayol bid."
Feallai mai llysenw am ddyn cestog ydoedd.
*brawd i dad Owain Tudur.* Ganed Owain Tudur tua 1385, a thorrwyd ei ben ar ôl brwydr Mortimer's Cross, yn 1461. Gellid rhoi oes ei dad a'i ewythr felly yn rhywle o 1355 i 1430. Os brawd iau oedd Rhys ap Tudur, gallasai ddyfod yn nes atom. Bu ef yn ymosod ar Gonwy yn 1401.
*yn unod,* yn un-nod?
*deunaw hafoedd,* hwyrach bod *deune hafoedd* yn debycach o fod yn iawn.

TUDALEN 63.

*rwystrchwedl restr,* geiriau llanw, heb ystyr neilltuol.
*fflwring gallestr,* S. *florin.*
*un dremydd drych,* â golwg fel drych.
*Sain Siam dy Galis,* Ffrangeg "*de Galice.*" Dywed traddodiad mai yn Compostella, Galicia, yn Ysbaen, y claddwyd Sant Iago, yr apostol.
*merwerydd,* cyffro 'r môr.
*blong,* ffurf fenywaidd *blwng*

TUDALEN 64.

*trymgae,* caead trwm.
*cribod,* o *crib* ac *ôd,* fel yr awgryma Mr. Ifor Williams. Rhydd ef *(Dafydd ap Gwilym a'i gyfoeswyr)* lawer gwell darlleniad o'r llinell:—"Nithod o'r cribod a'r crwybr."
*nithlen,* llen at nithio. Ceir y gair eto yn Nyffryn Clwyd.

TUDALEN 65.

*blaendrwyth,* y ddiod oreu.
*pob llyn,* pob diod.

TUDALEN 66.

*llain,* cleddyf, llafn.
*sythfryd,* trawster.

TUDALEN 67.

*a draeturwyd,* a wnaed yn herwr; o'r S. *traitor.*
*arnawdd, arnodd,* y rhan o'r aradr y mae 'r cwlltr ynddo, ac y bechir ceffylau wrtho, gerfydd clust yr aradr.
*dilid,* canlyn; *y tondid,* y gadwyn i gydio 'r ysgilbrennau â chlust yr aradr. O *bôn* a *tid.* Ceir y gair eto yng Ngwynedd a Phowys.
*crynfaen,* maen crwn yn y ddaear, a deifl yr aradr o'r gŵys.

TUDALEN 68.

*camrwysg,* o *cam* a *rhwysg.*
*talwrn,* talar, llannerch; o *tâl* a *grwn,* drwy fetathesis?
*arial,* egni, yni. *Pyst mellt,* gwreichion.

TUDALEN 69.

*awr ba awr,* o awr i awr. Cymharer *dydd bwy gilydd.*
*ffinio,* talu dirwy. O'r S. *fine.*
*Balchter ymysg niferoedd, &c.* Y saith bechod marwol.
*Duw lwyd,* Duw fendigaid.
*a ddyly Grist,* a haeddai Grist.

TUDALEN 70.

*a chrwn,* llyfndew. "Croten gron," Ceredigion; "geneth gron," terfynau Siroedd Dinbych a Chaernarfon.
*ysgawn,* ysgafn.

*yn ful*, gwylaidd, yswil.

*gleiniau fy nghefn*, cymalau asgwrn y cefn, fel haenau cerrig mewn craig, neu 'r cyrc a fydd wrth rwyd bysgota.

*mwstwr Ion*, byddin Duw. O'r S. *muster.*

*rhus*, cyffro, aflonyddwch. "Ceffyl yn rhusio."

*Cabalistiaid:* Athrawiaeth yr Iddewon, a elwid Cabala, ynghylch dehongli 'r Ysgrythur, ac yn cynnwys ffilosoffi gyfrin. Tarddodd, meddir, ryw 200 mlynedd cyn Crist, trwy gymysgu syniadau dwyreiniol â'r grefydd Foesenaidd, ar ôl y gaethglud. Honnir dysgu gwneud gwyrthiau drwy gyfrwng enwau a brawddegau o'r Ysgrythur. Dyma lle cafodd beirdd Morgannwg lawer o'u "Derwyddiaeth."

### TUDALEN 71.

*Heddiw mae argae oergwm, &c.* Engrhaifft dda o'r geiriau llanw. Darllener, am y synnwyr:—"Heddyw mae.... .......hil Hedd mawr ar y llawr llwm; A oes obaith i'n iaith ni... ....fyth gyfodi? Oes.........byw yw 'n gobaith."

### TUDALEN 72.

*siderog*, plethedig. *Syllty*, lle i gadw trysor. Ceir *swllt* yn y rhamantau am arian, tal, trysor.

*rhwyd don*, rhwyd garpiog.

*y'th ganhiadwyd*, y rhoed iti gennad.

*tudded*, gorchudd. Clywir "tudded gobennydd" yn Sir Gaernarfon eto.

*ystent*, o'r S. *extent.*

*bloedd obraff*, bloedd braff iawn.

*mawrwestl*, cynnwrf mawr?

*gwart*, o'r S. *guard.*

### TUDALEN 74.

*brat*, carp; *brot*, o'r S. *brouet*, *brewet*, cawl, cymysgedd.

*Camber*, cyndad y Cymry, yn ol Sieffre.

*ynfydgerdd Merddin*, y cerddi brud a briodolir i Fyrddin.

*Tarw Moel*, un o'r enwau a roddid ar y rhai y cyfeirid atynt yn y cerddi brud.

*breg*, toriad, rhwyg. Cymharer *bregus*, a "chware o *fregedd.*"

*Henaint o ran Saint yr ynys hon:* Awgryma 'r odl mai camgymeriad yw *hon* am *ël.*

*fferf*, benywaidd *ffyrf* = praff, cryf.

*curud rhestud*, curit, rhestid, heddyw; *rhestud* o'r S. *arrest.*

*blifiau*, *catapults*; a *glywud*, a deimlit.

*sud:* Felly y seinir eto yng Ngwynedd, er mai *sut* a ysgrifennir.

### TUDALEN 76.

*heb gwlwm wŷdd*, heb goed wedi eu plethu.

*athrawiaeth*, gwaith medrus, fel gwaith athro.

*yn nail*, mewn dail, o ddail.

*Y saith gelfyddyd:* Gramadeg, Dilechdid (rhesymeg), Rheitheg, Cerddoriaeth, Rhifyddiaeth, Mesuryddiaeth, a Seryddiaeth.

### TUDALEN 77.

*blowmon*, dyn du.

*hors*, y Saes. *horse.*

*Camlan*, y frwydr lle lladdwyd Medrod ac y clwyfwyd Arthur, yn ôl y chwedlau

*rhynion*, blawd ceirch bras.

*llinon wewyr*, gwaewffyn o goed ynn.

*secwndid*, S. *safe conduct.*

*ond rhoi Esyllt hwn trosof:* Cyfeiriad at Esyllt y rhamantau.

*oed dydd*, amod.

*deri*, coed derw.

*dwbled ffwl*, gwisg digrifwas. Daeth y ddwbled o Ffrainc yn y bedwaredd ganrif ar ddeg, a gwisgwyd hi yma hyd amser Siarl II.

*bresych ffa*, potes ffa? Ceir *cawl* (o *caulis*, ac yn golygu *bresych*) ym "Mabinogi Iesu Grist," a chredaf i mi weled y gair *bresych* hefyd yn golygu potes.

*camawn*, brwydr. Llad., *campanus.*

*larder*, S. *larder.*

*y Gral*, y Greal sanct, y cwpan yr yfodd yr Arglwydd y gwin o honno yn y swper olaf. Dywed y traddodiad bod Ioseff o Arimathea wedi ei ddwyn i Brydain. Collwyd ef, a chwilio am dano oedd gwaith marchogion y Ford Gron. Cynhyrchodd y traddodiad rai o bethau prydferthaf llenyddiaeth y byd.

*trŵn*, gorsedd.

*heb faneg*, heb amddiffyn?

*seinied*, modrwy. S. *signet.*

### TUDALEN 80.

*Solas*, Saes. *solace.*

*dylaith*, post, ateg, nerth. Cymharer â *dylath* (nid *tylath*), a glywir eto ar Fynydd Hiraethog, yn golygu coed yn cynnal to.

*cenau*, ci ieuanc; *cynydd*, un yn edrych ar ôl cŵn.
*celffaint*, bonyn pren pwdr. Ceir *celffant* ar leferydd yn Sir Ddinbych eto.
*fel Gwido gynt.* Cyfeirir at chwedl "Yspryt Gwido ar Prior." Ceir hi yn Llawysgrif Llanstephan 3, ac ereill. Buasai Gwido farw, a thrwblid ei wraig fel y danfonodd am y Prior. Wrth hwnnw, dywedodd yr Ysbryd lawer am y byd arall. Yn 1324 y digwyddodd y peth, medd y chwedl.

## TUDALEN 81.

*cerygl*, cwpanau. Ffurf unigol, *caregl.*
*ytir*, tir ŷd. Ceir y gair o hyd—"mae yno ytir da."
*o fawrial*, o *mawr* ac *Ial*? Y mae Ial heb fod ymhell o Langollen.
*dirio*, annog.
*heiniar*, cnwd o ŷd.
*cannyn*, can dyn.
*deufedd*, dau fath o'r medd.
*bragod*, diod a wnai'r hen Gymry.
*breugwrw*, cwrw brau, wedi ei gadw ddigon o hyd.
*argyffrau*, neu *argvfrau*, rhan, rhodd, gwaddol.
*gost Ifor*, un a wariai fel Ifor Hael.
*hiriell*, angel, medd Dr. Davies. Arferir yn fynych, megis yma, fel pe bae'n golygu arf. Sonnir hefyd am "fro Hiriell."
*padrïarch*: Sylwer bod y gair yn dair sillaf.
*corun*, eilliad y pen, fel y gwna mynaich. "Cymryd corun," mynd yn fynach.

## TUDALEN 82.

*Cywydd Porthmona.* Sylwer ar enwau'r trefi Seisnig lle 'r eid âg anifeiliaid o Gymru i'w gwerthu 'r pryd hwnnw.
*amner*, pwrs.
*Morda 'r gler.* Un o'r tri hael—Nudd, Rhydderch, a Mordaf.
*Dug in' Iorc*, Dug York yr oes?
*Hudol*, dewin. Enw yw, nid ansoddair.
*Hudoliaeth*, dewiniaeth.
*mwynwyr o wlad Sermania.* Sylwer mai o'r Almaen y ceid mwynwyr. Yr un modd yn Sir Fflint mor gynnar â'r bedwaredd ganrif ar ddeg.

## TUDALEN 83.

*gortho*, gorchudd, cysgod; o *gor* a *to.*
*gorffai*, trydydd pers. unig, amser gorffennol, modd dibynnol, *gorfod.*
*simwr*, clôg, mantell.
*pencwn*, *dog-fish* yn Saes.
*hergod*, un mawr; *moelrhon*, *seal* yn Saes. Yn Sir Benfro, ceir y gair yn y ffurf luosog *morlannod*, trwy wrthdroad, a lluniwyd y ffurf unigol *morlo* o honno.
*beunoeth*, bob nos.
*lwfer*, simnai. O'r Hen Ffrangeg *louvert*, am *l'ouvert*, tŵr bychan ar y to, neu ffenestr â byrddau ar ŵyr y naill dros y llall, i ollwng awyr drwodd.

## TUDALEN 84.

*gnodach*, tebycach, mwy naturiol.

## TUDALEN 85.

*O Dre Boeth:* Dyna, medd Mr. Stanton Roberts, ar awdurdod Sir Edward Anwyl, hen enw Cymraeg Handbridge, yng Nghaerlleon.
*didechwr*, un yn ymguddio, llechu.
*disyn*, o'r Saes. *dice*—yma, tegan, peth hoff.
*ôf*, crai, newydd.

## TUDALEN 86.

*grwn o dir*, cefn, darn o dir.
*Tomas fal tîm sy felys.* Darllenwyd *Tim* yng ngweithiau Lewis Glyn Cothi, dan olygiad Tegid a Gwallter Mechain. Y Saesneg *thyme* yw'r gair yn ddiau.
*Gwiawn*, Gwion Bach, enw a roid ar Daliesin.

## TUDALEN 87.

*Tref y Grwyn*, "Gaveren, a town in Belgium, situated on the Scheldt."—*Gwaith Lewis Glyn Cothi.*
*cerŵyn*, pair, neu le neu beth tebyg.
*afwyn*, *rein* yn Saes. Yr ystyr, ond odid, yw crogi lladron.
*sax*, o'r Anglo-Sacson *seax*, bwyall, cyllell.

## TUDALEN 88.

*llywethau*, tresi gwallt.
*hug*, gorchudd.
*llusael*, ael o liw llus.
*Pebyll Melwas*: Y chwedl yw fod Melwas wedi ymwisgo mewn dail i ddisgwyl am Wenhwyfar pan ddelai fore Calan Mai i gasglu bedw at wneud gerlynt i groesawi 'r Haf, ac felly y dug hi i'w ganlyn.
*stwmest*, Saes. *stomacher.*

## TUDALEN 89.

*traean*, un rhan o dair.
*nownyn*, naw dyn.
*gofeg*, meddwl. Ysgrifennir weithiau *goddeg.*
*nag unlle hefyd*, nag unlle *chwaith.*
*madden Duw*, gadael Duw.

